# YMDDYDDANION

RHWNG

Ymofynydd a Henwr,

AR

# *BRYNEDIGAETH.*

Hefyd,

SYLWADAU GWAHANOL

AR

*DDAU LYFRYN;*

Un yn tueddu at ryw fath o gyffredinolrwydd yn y Prynedigaeth; a'r llall, yn waeth, i'r ochr arall, yn gosod terfyn i werth aberth Crist!

## A CHYWYDD, &c.

***Ar yr un Matterion.***

Gwylia arnat dy hun, ac ar yr Athrawiaeth......1 Tim. 4. 6.

Anghenrhaid oedd i mi ysgrifennu atoch, gan eich annog i ymdrech yn mhlaid y Ffydd, yr hon a roddwyd unwaith i'r Saint... ..Judas, adn. 3.

GAN T. JONES.

*DINBYCH,*

ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

1819.

# RHAGYMADRODD.

AT Y DARLLENYDD,

YMAE athrawiaeth bur a chywir (fel y mae'n addefedig gan lawer) yn beth o bwys mawr, mewn golygiad ar ogoniant Duw, ac addysg a maeth iachusol i eneidiau dynion. Ac mi a ddysgwyliaf y bydd i bob Cristion deallus ystyried a chydnabod hyn am y matterion sydd yma yn cael chwilio iddynt, y'nghylch prynedigaeth pechaduriaid trwy farwolaeth Mab Duw: *Ai prynu y byd oll, mewn rhyw radd, neu ran, a wnaeth efe, ynte ufuddhau a marw, i lwyr-brynu* (oddi wrth bechod a melldith) *ei bobl oll, sef, y rhai oll, o bob cenedl, a gredasant, neu a gredant, ynddo*: a'r hyn a weddai i ni ei synio a'i addef am wir werth y farwolaeth honno; *Ai terfynol* (neu ddigon dros y rhai a gedwir, a dim ychwaneg) *ai ynte hollawl annherfynol ydyw.*

Os dywedaf ychydig yn hanesiol am y pethau hyn, y mae *peth gwahaniaeth yn mysg Protestaniaid*, megis o'u cychwyniad cyntaf, neu er pan ddyfeisiwyd yr enwad (yn y flwyddyn 1537) ac o hynny hyd heddyw, ar y pwngc cyntaf, ac felly ar y matter cynnwysedig yn yr *Ymddyddan a'r Sylwadau cyntaf*. Yr oedd hyn (meddaf) yn bod lawer

# YMDDYDDANION

RHWNG

Ymofynydd a Henwr,

AR

# *BRYNEDIGAETH.*

Hefyd,

## SYLWADAU GWAHANOL

AR

*DDAU LYFRYN;*

Un yn tueddu at ryw fath o gyffredinolrwydd yn y Prynedigaeth; a'r llall, yn waeth, i'r ochr arall, yn gosod terfyn i werth aberth Crist!

## A CHYWYDD, &c.

*Ar yr un Matterion.*

Gwylia arnat dy hun, ac ar yr Athrawiaeth......1 Tim. 4. 16.

Anghenrhaid oedd i mi ysgrifennu atoch, gan eich annog i ymdrech yn mhlaid y Ffydd, yr hon a roddwyd unwaith i'r Saint... Judas, adn. 3.

GAN T. JONES.

*DINBYCH,*

ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

1819.

Bellach, os dygwydd hyn o lyfryn i law ambell Eglwyswr, neu i ddwylaw rhai o aelodau *Eglwys Loegr*, ni ddywedaf ond hyn, mewn dyledus ymostyngiad, Fy mod yn dymuno i'r pethau sydd ynddo gael eu hystyried, a'u barnu mewn modd tirion, diragfarn, a diduedd.

Os bydd iddo ddyfod i law rhai o'r *Sectwyr* hynaf, o ran ymwahaniad oddiwrth yr eglwys wladol, (sef, y *Presbyteriaid*, yr *Independiaid*, a'r *Bedyddwyr*, sydd â'u deilliad oll oddiwrth y rhai a alwyd yn *Buritaniaid*, yn nyddiau y Frenhines Elisabeth, &c.) mi a dybygwn y gallaf, ar sail gadarn, ddywedyd cymmaint a hyn; *Fod sylwedd yr athrawiaeth a gyhoeddir, ac a amddiffynir yma, yn wir unol â'r hyn a ddaliodd, ac a gyhoeddodd eu hen dadau enwog, y'nghŷd a'r rhan enwocaf a phuraf o eglwys Crist, o'r dechreuad; ac nad oes yma ond cais syml am amddiffyn y gwir, rhag y gau, megis ar ddehau ac ar aswy.* Hyn yr wyf yn ostyngedig, yn dymuno ei adael i'w barn a'u hystyriaeth.—Ychwanegaf hefyd, *Yr wyf yn obeithiol yn meddwl, fod y pethau sydd yma, o'r dechreu i'r diwedd, yn unol â barn y rhan lïosocaf o'r ddau enwad olaf, y dydd hwn, yn Mrydain.* Os wyf, yn hyn, tan radd o gamgymmeriad, y mae'n ddrwg gènyf; a gobeithiaf y maddeuir hynny. Ac, am yr hyn sy'n gywir mewn athrawiaeth, dymunaf i'r Arglwydd fy nysgu i, a hwythau, i iawnfarnu yn ol ei air ef.—Y mae'r gwirionedd, a'r wir athrawiaeth, am brynedigaeth pechaduriaid, yn beth o bwys a gwerth annhraethol.

Os dygwydd hyn i law ambell un o'r rhai a enwir yn Arminiaid, ni ddywedaf ond hyn; Fel y mae yma rai pethau y cytunant â hwynt, sef holl-ddigonedd Crist, &c. felly, am y pethau na chytunant a hwynt, fy nymuniad i yw, iddynt hwy, a minnau, gael eiu hiawn-ddysgu gan yr Arglwydd.

Wrth fy mrodyr a'm cyfeillion, y *Methodistiaid Calfiniaidd*, mi a anturiaf fod o beth yn hyfach: Ac yr wyf yn hyderus yn gwirio hyn wrthynt; *Fod sylwedd yr hyn sy'n gynnwysedig yma yn unol, yn gwbl gydsain, â'r athrawiaeth a draddodwyd iddynt hwy, gan eu tadau a'u blaenoriaid ffyddlawn.* Yr wyf hefyd yn chwanegu hyn, fel cynghor brawdol, o *ddwy* ochr;—*Os gwelir ambell un yn tueddu at yr hyn sy a gael ei wrthwynebu yn yr Ymddyddan a'r Sylwadau cyntaf, mi a feddyliwn y dylai hynawsedd, neu oddefgarwch brawdol, gael ei arfer yn helaeth yn yr achos:* Ac yr wyf yn meddwl fod *un neu ddau*, o leiaf, o'r cyfryw yn gweinidogaethu yn y Corph, ddeugain mlynedd yn ol, heb derfysg, nac un radd o ddrylliad ar undeb a chariad brawdol, o herwydd hynny.—Ac os dygwydd hyn i law ambell un a fo o'r cyfryw ogwyddiad, dywedaf wrth bob un o honynt (fel hen frawd) *Fy mod yn erfyn, ac yn gobeithio am hyn o leiaf, na pharant derfysg, nac ymbleidiad, mawr na bychan, yn yr achos; ond y gwnant yn foddus blygu, neu, o leiaf, ymdawelu, heb fod yn wrthwynebus, i'r hyn (yn ddïamheuol, mi dybygwn) yw gwir farn y Corph o broffeswyr, y trefnodd Duw i'w coelbren fod yn eu mysg.*

Ac, mewn pethau o'r fath, addas a rheidiol yw ymdrech, mewn ymostyngiad a brawdgarwch, i gadw heddwch ac undeb y Corph.—Hefyd, er nad yw y tyb gwahanol, yma, ddim o'r un gwrthuni a'r llall, mewn golygiad ar Berson Crist, etto, ni feiddiaf ei alw, na'i gyfrif, yn fatter o bwys bychan. Y mae ynddo anghywirdeb, anghysondeb, a gŵyrni cryn fawr, fel y ceisiaf ddangos yn yr hyn a ganlyn. Yr wyf yn chwanegu hyn, "Os ydych yn synied dim yn amgenach" [y'nghylch prynedigaeth] "hyn hefyd a ddatguddia Duw i chwi." (*Phil.* 3. 15.)

Ond am y tyb a wrthwynebir yn y *Tri Ymddyddan olaf, a'r Sylwadau ar Draethawd C. E.* y mae anghenraid arnaf i fod etto yn ddwysach. Ac, ar y matter hwn, mi a obeithiaf y goddefir, neu o leiaf y maddeuir, hyn o addefiad gwir am danaf fy hun: Nid wyf yn gwybod am ddim, *heblaw ofn ac arswyd gwg Duw am fy mhechodau,* a fu i mi mor ofidus a'r meddwl am y fath *dyb newydd, a difrïawl ar Grist*, yn ymledanu yn Nghymru, er nad oedd yn cael derbyniad cyflawn gan bawb y cymhellwyd ef arnynt.—Mi a brofais amryw ofidiau yn fy nydd byr, ac yn eu mysg boenau ac arteithiau'r *Garreg*, am yn agos i *ugain mlynedd*, ac offer a chyllill y Llaw-feddygon, yn yr achos, *ddwywaith drosodd*, a'r meddyliau am angau, *trwy lymder a meithder y poenau*, yn fuan i lethu fy nghorph i'r bedd, ac i hebrwng fy enaid i fyd tragywyddol: etto mi a feddyliwn nad oedd hynny oll ddim yn gwbl mor drwm a hyn.

Neu ynte, bu yr effaith o hyn yn *agos mor drwm* ar fy nghorph tyner, ac *yn drymach* ar fy meddwl. Ond i Dduw y byddo'r dïolch, am iddo nid yn unig roddi cynnaliaeth tan y baich, fel tan feichiau ereill, (er fy ngwaeledd a'm hannheilyngdod mawr) ond hefyd drefnu ymwared mawr, trwy ogwyddo meddyliau fy mrodyr (mewn * Cymanfa) yn erbyn *y gwenieithydd a'r cablydd estronol hwn*. Bu penderfyniad yno mewn modd dwys, i'r perwyl hwn; *Fod aberth Crist i'w gyfrif yn wir annherfynol ei werth*. At hyn yn *bennodol ac arbènig*, ac o blaid hyn o wirionedd pwysfawr, y'nghŷd â'r *wir athrawiaeth o brynedigaeth neillduol*, y mae cais a chyfeiriad yr *Ymddyddanion a'r Sylwadau* canlynol; a'r un modd y *Cywydd* hefyd. Ac o galon mi a ddymunwn na byddai y naill na'r llall er tramgwydd i neb. Yn ddïau nid wyf yn medru dirnad, fod yn hyn o lyfryn ddim gwir achos i neb dramgwyddo; er y gwyddom mai rhy dueddol i hynny yw dyn, yn enwedig, pan wrthwynebir y tyb a fo yn hoff ganddo. Ond yn lle hyn, "*Ymofynwn am yr hen lwybrau, lle y mae ffordd dda, a rhodiwn ynddi*," Jer. 6. 16.

Os dygwydd y llyfryn i law ambell un, a farna nad yw yr hyn sy'n cael yma ei amddiffyn, *holl-ddigonedd Crist*, yn neillduol, na'r *tyb sy'n wahanol*, ond pethau o *bwys bychan*, mi a ddymunwn i'r cyfryw hefyd gael eu dysgu yn well: O herwydd, os na addefir fod aberth Crist o werth *hollol annherfynol*, ai nid yw ei *fri a'i urddas dwyfol ef*

* Yn Mhwllheli, o ddeutu diwedd Medi, 1817.

felly heb ei addef? neu o leiaf heb ei lawn-addef? Ac os byddwn heb addef Duwdod Crist, mewn modd cyson, di-goll, a thrwyadl, ai *matter bychan* yw hynny? Nag ê; ac yn ganlynol i hyn mi a ddywedaf fod y tyb croes i'r *gwir werth dwyfol a diderfyn* sydd yn ei aberth, i'w wrthod gyd â chryn radd o'r un fath ddychryn a ffieiddiad ag *Ariaeth ei hunan*; er fy mod i yn garedigol yn barnu, nad yw, neu na bu, bwriad ac amcan amddiffynwyr y tyb ddim mor ddygasog a dichellus ag oedd yr eiddo * Arius Ond yn wir mi a dybygwn y gallai synwyr cyffredin ddirnad, nad yw Duwdod Crist ddim yn cael ei iawn-addef, gan y neb a dybio nad oes yn ei *dduwgoledd* ef, neu yn *ngwir werth ei aberth*, ddim ond *tâl manyl-bwys* (neu megis *punt am werth punt!*) dros ei eglwys; er mai drosti hi yn unig, yn ol arfaeth a chyfammod dwyfol, "y rhoddodd efe ei hun:" a'r un modd, nad yw ei Dduwdod yn cael ei iawn-addef gan y neb a dybio, y buasai *dyoddef ychwaneg*, neu dros amser *meithach*, yn *chwanegu* at werth ei aberth, neu yn peri *gwelliant* i'w waith anfeidrol, fel Duw-ddyn.

O herwydd, nid yw yr hyn y mae modd i *chwanegu* ato, neu i'w *wellhau*, ddim yn *wir ddwy-*

---

* I'r rhai nad oes ganddynt ddangosiad llawnach, y mae rhyw-faint o hanes Arius, ei dybiau gau, a'i ddywediadau cyfrwys (a dynesäol mewn rhith at y rhai uniawn-gred) i'w gweled yn y *Casgliad hanesiol am y Diwygwyr, y Merthyron*, &c. ac *Eglwys Crist*, a gyhoeddwyd gennyf rai blynyddoedd yn ol. (*Tu dal.* 946, &c.)

*fol,* nac yn *annherfynol,* neu yn *wir berffeithlawn,* yn ei fawredd, ac yn ei werth. Yn ganlynol, y mae'r cyfryw dybiau yn amlwg ac yn llwyr anghyson â chywir farn am Grist, a'i wir annherfynolrwydd. Hyn yr wyf, yn bendifaddeu, yn ceisio ei ddangos, yn helaethach, yn yr Ymddyddanion a'r Sylwadau canlynol. Ac na atto Duw i'r *annherfynolrwydd hwn* fod fel pwngc amheuus yn ein plith.

Ac onid rhyw haeriad gresynus o'r annoeth a fyddai gan y dyn a ddywedai, ei [illegible] ef yn addef aberth Crist i fod yn anfeidrol a diderfyn ei werth? ond ei fod er hyn yn barnu [illegible] *d modd i estyn ei derfyn, neu chwanegu at ei werth?*—Na, greadur truan, os tybiaist ti am un modd, neu am bosiblrwydd, i'w *wellhau,* neu *chwanegu ato,* ti a dybiaist yn gyntaf, nad ydyw yn wir anfeidrol neu annherfynol; ac, yn ganlynol, nad yw mawredd gwir ddwyfol ddim yn perthyn i Grist, neu, mewn geiriau ereill, ddim yn sylweddol yn ei aberth a'i iawn ef. Am y cyfryw † dyb ti a ddylit ddwys-alaru ger bron Duw: ac os torrodd y tyb allan mewn ymadroddion a rhith o addysg i ereill, *ti a ddylit gyffesu dy fai trwm,* nid yn unig ger bron Duw a

---

† Chwanegiad mawr at fai ambell un o'r rhai a fynwesasant *y tyb tra beius hwn,* fu myned yn llaw-drwm anferth i dynnu bryci euyn allan o lygaid rhai o'u brodyr, heb gydnabod y trawst yn eu llygaid eu hunain; ac i ymddwyn yn debyg i'r trawswas (yn *Math.* 18. 23, &c.) yr hwn y maddeuodd ei arglwydd iddo ddyled o *ddeng mil o dalentau,* ac yntau yn ymaflyd yn fnan yn ei gyd-was, gan ei *lindagu,* &c. am ddyled o *gant ceiniog.*

ddi-anrhydeddaist, ond ger bron ei bobl hefyd, ac yn enwedig y rhai y ceisiaist eu cam-arwain. Ac os wyt yn myned y'mlaen heb edifeirwch, a dadgyffesiad, mi a fedrYliwn y dylai eglwys Crist ymwrthod â thi, neu, o leiaf, dy ddwys-geryddu, ac, hyd y gallo hi, dy attal rhag hau y fath dybiau gŵyrdraws, a chan dy adael fe''v i gyfiawn farn Duw. (*Act.* 20. 30. *Tit.* 1. 1[illegible]—13.)

Yma ni allaf lai nâ chwanegu, y byddai y dyn *a gyndyn-ymlynai* wrth y cyfeiliornad trymddwys hwn (sy'n bwrw y fath anfri ar Grist Duw) yn deilwng o'i gyfrif fel * heretic: Ac, medd gair Duw, " Gochel y dyn a fyddo heretic, wedi un ac ail rybudd." (*Tit.* 3. 10.)

Yn nesaf, yr wyf yn addef, er fod hyn o lyfryn wedi ei ysgrifenu oddi ar ystyriaeth difrifol, ymofyniad manwl a maith, a gweddïau aml, ïe, ac yn darddiad " o orthrymder dwys, a chyfyngder calon, a dagrau lawer," etto nad wyf yn tybied ei fod heb ffrwyth fy ngwaeledd, a'm hanmherffeithrwydd i ynddo. Dymunaf faddeuant gan Dduw am fy meiau yn hwn, fel yn fy holl orchwylion ereill: a dymunaf hynawsedd ac ystyriaeth difrifol

* Y mae'r gair Groeg, *aireticos*, heretic (oddiwrth *'aireo*) yn arwyddo *un yn dewis, yn glynu, yn ymlynu wrth &c.* Ac, o'i olygu (fel y mae'n addas) yn ei *ystyr drwg*, y mae llawer o ddysgedigion yn darlunio heretic fel hyn; Un yn dal athrawiaeth, neu bwngc o athrawiaeth, a fo'n groes i sylfeini y ffydd Grist'nogol, ac yn parhau i'w ddal a'i gyhoeddi, gan ymfoddhau ynddo, neu *gyndyn-lynu wrtho.*—Gwel hefyd *Eiriadur Ysgrythyrol* Mr. Charles, dan y geiriau, *Heresi*, *Heretic*, a *Dinystriol*.

y rhai y bu angheniraid arnaf i feio *ar rai pethau* a ysgrifenasant, neu a ddaliasant, a rhan yn ngweddïau y rhai oll a ofnant yr Arglwydd.—Cyd-erfyniwn oll, am i bob rhwystr gael ei symud, neu ei ddarostwng, ac i air Duw "redeg, a chael gogonedd."

Gwnaf yma hefyd grybwylliad byr, Fod fy analluogrwydd i deithio, a phregethu oddi cartref, wedi bod yn achlysur i mi ysgrifènu hyn (y'nghŷd â'r hyn a allwn o waith *Mr. Gurnal*) mewn amser go faith o wendid, gan i mi farnu ei fod yn *dra rheidiol*, ac y gweddai i minnau fod ar ryw orchwyl perthynol i wasanaeth yr Arglwydd, hyd ddiwedd fy nydd; a chan nad oes "na gwaith na dychymyg yn y bedd," i'r hwn yr wyf yn gogwyddo yn brysur: Hefyd, Fod y rhan fwyaf o lawer o hyn o lyfryn wedi ei ysgrifènu gènyf er's mwy nâ blwyddyn; a'i fod, yn hynny o yspaid, yn ymofyniad mynych gyd â mi, A fyddai gymhwys—a fyddai reidiol—ac a fyddai i law ragluniaethol Duw fy nhywys, i gyhoeddi hyn cyn fy marw, ai ni fyddai? A'm dymuniad etto yw, ar iddo EF roddi "goleu fynag," at iawn derfyniad yn yr achos.

Y'mhellach yr wyf etto yn gwirio "ger bron Duw, a'r Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a farna y byw a'r meirw," nad oes yn hyn o lyfryn, yn ol y goreu o'm deall bychan i, ddim, o ran sylwedd athrawiaeth, ond sydd yn wir unol â gair Duw, ac â'r hyn a addefwyd, ac a gyhoeddwyd, gan y niferi o Grist'nogion enwog a bennodwyd o'r blaen:

ac, os bydd i un, neu ychwaneg, o'r rhai a broffesant undeb âg un o'r cangènau hynny, wrthsefyll hyn o Lyfryn, neu geisio dymchwelyd y pyngciau a amddiffynir ynddo, yna, mai y cyfryw, ac nid myfi, sy'n ceisio dwyn i mewn *athrawiaeth ddyeithr, a therfysg yn ei phlaid.*

Yn ddiweddaf, Er fod i mi achos cyflawn i ysgrifènu ac argraffu hyn, tu ag at amddiffyn fy hun rhag yr enw, ïe, yr enwau drwg, a fwriwyd arnaf, fel cyfeiliornwr, terfysgwr, &c. &c. etto, mi a allaf wirio, na fuaswn yn meddwl am y fath waith, oni buasai i mi farnu, a hynny trwy eithaf gorfod, fod gwirionedd Duw wedi cael rhuthriadau trymion i'w erbyn, yn amryw o ardaloedd neu Siroedd Cymru.

Yr Arglwydd, o'i fawr drugaredd, a'n cynnysgaeddo âg adnabyddiaeth o'r gwirionedd, y'nghŷd âg egwyddor wir dduwiol, i iawn-ddefnyddio pob rhan a changen o hono.

DINBYCH, Gorphenhaf 26, 1819. } T. J.

# YMDDYDDAN I.

RHWNG

*Ymofynydd a Henwr,*

Am BRYNEDIGAETH.

---

*Ymofynydd.*

MI a chwennychwn gael gwybod eich meddyliau ar y pwngc pwysfawr o Brynedigaeth; a hynny nid i'm gwneyd yn hunan-ddoeth, gan rym rhyw oleu mewn pen, neu "wybodaeth sydd yn chwyddo;" ond tu ag at gael gwybodaeth a deall da, a fyddo'n effeithiol er lles i fy enaid.

*Henwr.* Da ydyw y fath chwennychiad; a da fyddai fod ynom fwy o deimlad o'r fath ddiffyg: ond am danaf fi i'w gyflenwi, nid oes gènyf ond hyn; os gofynwch, minnau a geisiaf ateb yn ol y goreu o'm cyrhaeddiad bychan, a than geisio erfyn am i'r Arglwydd roddi i mi a chwithau fwy o ddeall cywir a goleu, ïe, o ddeall ysprydol ac effeithiol, yn y matter hwn, ac yn mhob peth a berthyn i ogoniant Duw, a gwir adeiladaeth dduwiol.

*Ym.* Dangoswch ynte, yn fyr, y rhai pennaf o'r golygiadau ar y pwngc, a fu, neu y sydd, yn mysg Protestaniaid.

*Henwr.* Yr oedd, o ddechreuad y Diwygiad Protestanaidd, ddau olygiad, *gwahanol i ryw radd,* yn mysg y Diwygwyr; un o honynt

yn debyg i hyn: "*Fod Crist i'w gyfrif yn Brynwr i bawb oll o ddynol-ryw; am fod rhyw bethau daionus wedi dyfod trwyddo ef i holl hiliogaeth Addu, ond yn enwedig i'r rhai oll a gawsant air ac ordinhadau Duw; ac am fod pawb oll, trwyddo ef, mewn cyflwr neu 'stâd gymmodadwy a chadwadwy* (nid cymmodedig a chadwedig;) hynny yw, *heb eu gadael yn anobeithiol eu cyflwr, fel y cythreuliaid, neu yr angylion a bechasant.*"—Yr oedd y gwŷr hyn hefyd yn chwanegu, i'r perwyl hwn; "*Mai i'r rhai etholedig yn unig y mae, ac y bydd Prynedigaeth yn llawn effeithiol, am mai iddynt hwy y mae Duw wedi rhad-fwriadu, ac mewn amser yn rhad-roddi, gwir ffydd effeithiol.*"

*Ym.* Yn mha fodd y mae i ni iawn-olygu barn y lleill o'r Protestaniaid?

*Hen.* Hwy a gyhoeddasant eu barn i'r perwyl hwn: "*Fod Crist yn Brynwr* (yn ol ystyr pènaf y gair) *i aelodau ei wir gorph ysprydol, neu ei wir eglwys, yn unig; ei fod wedi rhoddi ei hun dros ac yn lle y rhai'n, a elwir hefyd, ei ddefaid, ei gyfeillion, ei bobl briodol, y rhai a roddwyd iddo mewn cyfammod tragywyddol, gan ei Dad, i'w prynu a'u hachub allan o'r cyflwr gelynol a thruenus y maent ynddo wrth naturiaeth, ac i'w dwyn, trwy wir heddychiad a sancteiddiad, i fywyd tragywyddol: Yn fyr, mai tros, ac yn achos y rhai'n yn bennodol yr aeth Crist yn Feichiÿdd ac yn Brynwr, ac mai drostynt hwy y mae efe yn Iawn, yn ol cynghor, cyfammod, ac arfaeth rasol y Personau Dwyfol.*"

*Ym.* Pa bryd y daeth y gwahaniaeth hwn yn fwy amlwg i'r golwg?

*Hen.* Mi a feddyliwn mai yn y Gymanfa nodedig a fu yn ninas Dort, o fewn talaeth Holand, yn y flwyddyn 1618, a dechreu'r ganlynol. O herwydd codiad Arminiaeth, ychydig flynyddoedd cyn hynny, ac o herwydd ei gwahan-byngciau a'i therfysg-waith hi, y galwyd y Gymanfa honno ynghyd: ac yr oedd ynddi Gynddrychiolwyr, o wŷr dysgedig ac enwog, tros eglwysi Lloegr, Scotland, Saith talaeth Holand, neu yr Iseldiroedd, tros daleithiau Switzerland, tros y Palatinate, Geneva, Bremen, ac amryw daleithiau neu ardaloedd ereill yn Germany.—Hwy a gyttunasant oll i ddatgan eu barnau *yn erbyn Arminiaeth*, yn ei phum' pwngc cyfeiliornus, sef *Etholedigaeth ammodol*; *Prynedigaeth gyffredinol*; *Gallu dyn yn ol rhydd-did ei ewyllys naturiol*; *Galwad Duw yn ymddibynu ar ddyn am ei heffeithiolrwydd*; *a pharhad mewn gras yn ansicr, ac yn ymddibynu ar rinwedd dyn hyd y diwedd.*—Barnasant y daliadau hyn oll, meddaf, yn gyfeiliornus.—Ar Brynedigaeth, fel ar y pyngciau ereill, hwy a roisant oll eu tystiolaeth yn erbyn Arminiaeth: etto yr oedd dau o Gynddrychiolwyr Lloegr mor gryfion o ochr y darluniad *cyntaf* a bennodais, hyd oni chawsant gan y tri-wŷr ereill gydsynio â'u golygiad, yn enwedig am eu bod yn medru dangos fod yr *unfed ar ddeg ar hugain* o Erthyglau Eglwys Loegr, a rhai ymadroddion yn ei Chatecism, a'i Gwasanaeth, yn hawdd eu dehongli yn ol

ystyr eu golygiad hwynt, nag mewn modd unol â'r llall. Yr oedd yno hefyd ddau, allan o dri, o gynddrychiolwyr Bremen, yn tueddu yr un ffordd. Hyd at yr ychydig wŷr hynny, yr oedd corph y Gymanfa enwog hono, yn cofleidio barn a golygiad tebyg i'r *ail* a nodais, a'r cywiraf mi dybygwn, am Brynedigaeth.

*Ym.* Pa feiau, neu golliadau, yn ol eich tyb chwi, sydd yn y golygiad *cyntaf*?

*Hen.* Y mae, yn ol y goreu o'm deall i, amryw ddiffygion neu golliadau yn y farn hono am Brynedigaeth: a than gynnwys yn fy meddwl barch neillduol a theilwng i nifeiri o wŷr enwog oedd, ac sydd, o'r farn hono, mi a geisiaf eu nodi mewn modd byr.

*Yn gyntaf*, Yr oeddynt, heb achos, yn deall ac yn dehongli yn yr ystyr helaethaf yr ymadroddion hyn, o eiddo Yspryd Duw; *Efe a fu farw dros bawb—yn bridwerth dros bawb—dros bechodau yr holl fyd*; a rhai o'u cyffelyb. Yn awr, mi dybygwn y dylasent ystyried, ac y buasent yn deall yn well, y cyfryw ymadroddion, mewn cysonedd efo y rhai'n; *dros y defaid—dros ei gyfeillion—trosti hi—a throsom ni, ei eglwys—a'n prynaist ni i Dduw, allan o bob llwyth, &c.—a brynwyd oddiwrth ddynion*;—a llawer o'r cyffelyb. Wrth olygu'r ymadroddion cyntaf, a'u cymharu â'r rhai'n, ac ereill o'r fath, mi feddyliwn y buasai yn gymhwys iddynt ystyried dehongliad Crist ei hun ar y gair *pawb* yn *Ioan* 6. 45. "Y mae'n ysgrifenedig yn y prophwydi, A *phawb* a fyddant wedi eu dysgu gan Dduw." Yn awr, i

ddeall pwy yw y pawb hyn, dysgwn ganddo ef ei hun yn ei eiriau nesaf; "Pob un gan hynny a glywodd gan y Tad, ac a ddysgodd." Yn gyffelyb, am y geiriau *pob cnawd—pob dyn—yr holl fyd, &c.* ni a gawn gan Yspryd Duw ei hun ddehongliadau, sydd yn dangos eu bod yn fynych yn cael eu harfer mewn ystyr derfynedig; (*Act.* 2. 17, &c. Col. 1. 6, 23, 28.) a'u harwyddocâd, tybygid, ydyw nifeiri mawrion o'r cenedloedd, yn gystal ag o had Abraham. Pan gyntaf y gwelwyd efengyl neu râs Crist, fel afon gref yn llifo tros ei glannau, yr oedd hi yn "*ymddangos i bob dyn*"—yn myned ar led "*yr holl fyd*"—a "*phob cnawd yn cael gweled iachawdwriaeth Duw*;" a hyn i gyd yn wirionedd didwyll, heb fod dim o'r fath beth a phob un o ddynol-ryw yn gynnwysedig yn y golygiad sy gan Yspryd Duw yn yr ymadroddion.

*Yn ail*, Y mae golygiad y gwŷr da uchod ar y Prynedigaeth trwy Grist, yn ymddangos i mi *yn gymmysglyd*, o ddiffyg gwahaniaethu'n well, neu edrych yn fanylach ar wahanol ystyr y geiriau a gyfieithir, *prynu, prynwr, prynedigaeth, prynedigion &c.* Y maent yn cael y cyfryw eiriau wedi eu harferyd am *waredu, gwaredydd, ymwared, gwaredigion, &c.* ac am hynny, mi dybygwn eu bod yn barnu, heb sail ddigonol, nad yw Crist, Prynwr ei Eglwys, ddim wedi rhoddi ei hun yn iawn neillduol a phennodol dros ei phechodau hi, nac yn bridwerth pennodol a chyfammodol dros bersonau ei bobl, ei ddefaid, &c. ond ei fod me-

wedi rhoddi ar y bwrdd swm o anfeidrol werth, ar gyfrif pa un y gallai Duw, heb wneuthur cam â'i gyfiawnder, faddeu i'r personau, ac i'r nifer y gwelai yn dda wneyd felly â hwynt. Yn awr, er mai gwirionedd sicr ydyw, fod yr hyn a dalodd Crist, wrth ei roddi ei hun, yn swm *anfeidrol*, yn ol ystyr helaethaf y gair; etto gwir yw hefyd, fod llawer o ymadroddion eglur y Bibl yn arwyddo ac yn dangos pryniad personau, a phersonau pennodedig gan y Personau dwyfol; a'u pryniad hwynt hefyd trwy werth a phridwerth, yn ol cyfammod cadarn, a sicr ei luniaethad. Ac er mai gwirionedd yw, mai rhodd Duw yw ffydd, a'i rodd ef i'w eiddo etholedig yn unig; etto gwir yw hefyd, mai oddiwrth ac oddi ar y pryniad a fu arnynt, sef ar eu personau, trwy bridwerth ac iawn anfeidrol, y mae *pryniad gwaredigol* (os gallaf ei alw felly) neu yn fwy eglur, gwaredigaeth rasol oddiwrth euogrwydd a llywodraeth pechod yn dyfod i ran y rhai a brynwyd gan Grist; yr hwn a roddodd ei hun yn eu lle, ac yn iawn drostynt.

*Ym.* Pennodwch, attolwg, rai o'r ymadroddion ysgrythyrol, sy'n dangos fod Crist wedi *prynu* ei bobl, trwy bridwerth ac iawn dros eu personau; a hyn yn wahanol oddiwrth, ac hefyd yn myned o flaen, eu *gwarediad*, neu eu *pryniad* oddiwrth euogrwydd, llywodraeth, ac effeithiau pechod: o herwydd yr wy'n deall fod *pryniad* yn myned weithiau am warediad neu waredigaeth.

*Hen.* Y mae felly; a chyn atteb eich gofyn-

iad mi a bennodaf rai lleoedd, yn mha rai y gellir gweled hynny. Mae y gair Groeg, *apolutrôsis*, yn arwyddo, neu yn cynnwys yn ei ystyr, *prynniad*, a *llwyr-bryniad*, *ymwared*, a *llwyr-ymwared*. Ni a'i cawn yn ei ystyr isaf, yn *Heb.* 11. 35. "heb dderbyn *ymwared*;" sef y saint dirdynnedig heb dderbyn *ymwared amserol* i'w cyrph; ac felly yn *Heb.* 9. 15; "marwolaeth yn *ymwared*," &c. Drachefn, ni a gawn yr un gair am yr *ymwared*, neu y *pryniad*, a fydd i gyrph y saint yn yr adgyfodiad; "hyd *bryniad* y pwrcas," (*Ephes.* 1. 14.) "hyd ddydd *prynedigaeth*," (Ephes. 4. 30.) "mae eich *ymwared* yn nesau," (*Luc.* 21. 28.) —"*prynedigaeth* eu corph," (*Rhuf.* 8. 23.) —"yn sancteiddrwydd, ac yn *brynedigaeth*," (1 Cor. 1. 30.)—Hefyd, y mae yr un gair yn cael ei ddefnyddio, i nodi yr *ymwared* mawr sydd yn dyfod i'r rhai credinol, trwy ffydd; "*prynedigaeth* trwy ei waed ef, sef maddeuant pechodau," (yn *Ephes.* 1. 7. a *Col.* 1. 14.)— Bendithion yw y rhai'n (maddeuant, ac adgyfodiad i fywyd) sy megis ffrydiau deilliadol oddiwrth y gwaith mawr o Brynedigaeth, a gyflawnwyd gan Grist; ac am hynny y maent, fel rhai aberoedd, yn myned ar enw y ffynnon, o'r hon y tarddasant.

Yn unol â hyn, y mae i ni ystyried fod y gair, neu y sylwedd-air, *apolutrosis*, yn cynnwys yn ei *ystyr benaf*, ac yn arwyddo *taliad* a baro ryddhâd neu ymwared: felly yn amlwg yn *Rhuf.* 3. 24, 25.—" trwy y *prynedigaeth* sydd yn Nghrist Iesu; yr hwn a osododd Duw yn

iawn," &c. Y mae yma waith Crist, neu yn hytrach Crist yn ei Berson a'i waith anfeidrol, yn *iawn-er-pryniad.* Mae efe wedi talu yn gyflawn dros ei eiddo, y cwbl o ofynion cyfiawnder a deddf Duw: yn ganlynol, y mae yn eu cael yn rhyddion, trwy eithaf cyfiawnder, ac yn eu bendithio â *phryniad; rhyddhâd,* neu *ymwared* profiadol, yn eu heneidiau, ac, ar fore'r adgyfodiad, yn eu cyrph hefyd. Dyma bryniad cyflawn, grasol, a pherffaith yn wir!

Drachefn, gair arall sy'n cynnwys *pryniad* trwy werth ac iawn yw hwnw yn *Gal.* 3. 13. "Crist a'n *llwyr-brynodd*" (*exegorasen*) "oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith *trosom.*" Y mae'r gair Cymraeg, *llwyr-brynu*, yn gyfieithad cywir; ac y mae'r un gair Groeg i'w gael yn *Gal.* 4: 5. "fel y prynai" (neu y llwyr-brynai) "y rhai oedd dan y ddeddf." Mi a feddyliwn fod yma *bryniad* trwy daliad llawn gan Grist, a phryniad, neu ryddhâd, i'w rai prynedig, yn cael ei ddatgan gydâ hynny yn niwedd yr adnod olaf a nodwyd; "fel y derbyniem y mabwysiad." Fel pe byddai gan wr cyfoethog a thirion rai o'i gereint mewn caethiwed; ac yntau, yn gyntaf, yn talu'r gofynion, i *brynu* eu personau i ryddid, ac wedi hyn yn mynnu gweled eu *rhyddhâd* neu *ymwared* personol i bob un o honynt, eu dychweliad i wlad o ryddid, a'u mabwysiad i'w deulu ei hun, i fod yn etifeddion iddo. Hyn, a mwy nag a ddichon cyffelybiaeth ei osod allan, a mwy i anfeidroldeb nag a fedrwn ni ddatgan, na meddwl, a wnaeth Crist, trwy

roddi ei hun yn iawn *dros* ei eiddo, ac a wna efe, trwy bob ymwared a phob rhoddiad rheidiol iddynt rhagllaw.

*Ym.* A oes dim achos i ymhelaethu ar hyn?

*Hen.* Crybwyllaf etto yn fyr, fod yr un sylwedd (o bryniad a rhyddhâd) yn cael ei ddangos yn *Tit.* 2. 14. "Yr hwn a'i rhoddes ei hun drosom, i'n prynu ni oddiwrth bob anwiredd," &c. a'r un modd yn 1 *Pedr* 1. 18. "Gan wybod nad â phethau llygredig, megis arian neu aur, y'ch prynwyd oddiwrth eich ofer ymarweddiad," &c. Yn y ddau le hyn y gair Groeg yw *lutróo*, prynu a gwaredu. Gair arall, *agoruzo*, prynu, sy'n cael ei arfer yn y tair *adn.* ganlynol, *Datg.* 5. 9. a 14. 3, 4. (yr un ag yn *Luc* 14. 19. ar fatter arall, "Mi a *brynais dyddyn*," &c.) Ac mi a feddyliwn mai pryniad, yn cynnwys yn ei sylwedd daliad ac iawn cyflawn, ac *iawn tros bersonau hefyd*, a olygir yn yr adnodau uchod; ac mewn ymadroddion ereill, o fath y rhai'n; "Yr ydwyf yn rhoddi fy einioes *dros* y defaid." (*Ioan* 10. 15.)—"yn bridwerth *dros* lawer, (*Math.* 20. 28.)—"y cyfiawn dros yr anghyfiawn," (1 *Pedr* 3. 18.) Wrth farw *dros* ei bobl, y mae efe wedi dwyn y felldith a'r farwolaeth oedd ddyledus iddynt hwy, ac a fuasai yn farwolaeth dragywyddol iddynt: y mae wedi dwyn eu pechodau hwynt "yn ei gorph ei hun ar y pren." Eu pechodau *hwynt* oedd yn gyfrifedig iddo, yn ol y cyfammod o brynedigaeth; ac y mae efe (fel yr arwyddocäwyd ac y cysgodwyd yn y bwch dihangol, oedd â phechodau Israel yn gyffesedig

arno, (*Lef.* 16. 21. 22.) wedi dwyn anwiredd ei holl Israel ysprydol, "i dir neillduaeth," i fod megis allan o olwg cyfiawnder dïaleddol am byth.

Hefyd, mae y geiriau (*antilutron* a *lutron anti*) a gyfieithir *pridwerth*, yn 1 *Tim.* 2. 6. *Math.* 20. 28. a *Marc* 10. 45, yn llawn eglur yn arwyddo pris, neu iawn, a fyddo'n cael ei dalu dros un caeth, neu euog, er ei ryddhâd. Ac wedi i'r *pridwerth* gael ei dalu, y mae *rhyddhâd* yn canlyn.

*Ym.* Pa fai neu goll arall, dybygech chwi, sydd yn y golygiad *cyntaf* a nodasoch, ac yr ydym yn sôn am dano?

*Hen.* Yn drydydd, mi a feddyliwn fod hyn yn fai ynddo; y mae ei ddiffynwyr yn cyfrif Crist yn Brynwr hefyd i gyfan o bechaduriaid, am fod rhyw bethau da, a thrugareddau yn dyfod trwyddo, neu er ei fwyn, i bawb oll o ddynol-ryw: oblegid, meddant, "Os nad yw y bendithion mwyaf yn dyfod i droseddwyr euog a gelynol, ond trwy waed ac iawn Crist, ac felly trwy bryniad, pa fodd y dichon y Duw perffaith-gyfiawn gyfrannu y lleiaf o'i roddion i'r cyfryw, ond trwy gyfrwng yr un Prynwr, yn ei aberth ac iawn?"—A'r pethau hyn yr wyf yn sylwi,

1. Nid ydym yn cael yn y Testament Newydd, fod Crist wedi rhoddi ei hun dros neb, na phrynu neb, na dim (*yn ôl ystyr pennaf y gair*) ond ei eglwys, sef ei wir bobl. Os dadleuir geiriau'r Apostol am anwiriaid, eu bod yn "gwadu'r Arglwydd, yr hwn a'u *prynodd*

hwynt," (2 *Pedr* 2. 1.) yr wyf yn ateb; y mae hyn yn cael ei ddywedyd, naill ai yn ol eu tyb a'u proffes hwynt, fel y cawn yn *Luc* 19. 22. "Ti a *wyddit* fy mod i yn wr tost," &c. neu ynte y mae'r pryniad a fuasai arnynt i'w ddeall yn ol *ystyr isel* y gair, fel y crybwyllwyd o'r blaen, a sylwedd eu pryniad i'w gael yn yr ymadrodd hwnw, "diangc oddiwrth halogedigaeth y byd," *adn.* 20. Hefyd, y mae amryw esponwyr yn tueddu i feddwl, mai nid Crist yn bersonol a olygir yma, fel yr un a'u prynodd, ond yn hytrach Duw, yn dri Pherson; megis y cawn yn yr Hen Destament, *Deut.* 32. 6. "Onid efe yw dy Dad a'th *Brynwr*? a *Salm.* 74. 2. "Dy gynulleidfa yr hon a *brynaist* gynt:" Pryniad neu waredlad llai i raddau annhaethol, oedd pryniad Israel o'r Aipht, nâ hwn yr ydym ni yn son am dano; er ei fod yn gysgod cymhwys o hono. Gan hynny y mae yn rhaid chwilio am bryniad uwch, fel tarddle i roddion achubol.—Ond i geisio dyfod yn nes,

2. Am ryw bethau da yn dyfod i ran pechaduriaid sy'n byw, ac yn marw yn annuwiol, nid wyf yn ammau nad yw hyn yn bod; ac nid wyf yn meddwl y cawsai dynol-ryw, ar ol cwymp Adda, un rhodd gysurol gan Dduw, oni buasai i had y wraig, a'r addewid am dano, agoryd ffordd i hynny. Etto, gan mai pen ei eglwys yw efe, ac mai hi yn unig a brynwyd ganddo i heddwch â Duw, yr wyf yn meddwl am yr holl roddion, tymmorol, neu ysprydol, sy'n dyfod i rannau pawb ereill, nad ydym i edrych arnynt fel deilliadau *union-gyrchol*

oddiwrth Brynedigaeth, neu fel ffrwyth ac effaith gwaed Crist i bersoniau sydd, ac a fyddant byth, yn elynion iddo; ond eu bod yn eu cael **er mwyn*, ac megis dan gysgod yr eglwys, yr hon y mae ei Harglwydd a'i Phrynwr yn dewis ei magu, ei chynnal, a'i meithrin, yn nghanol byd o annuwiolion, ie, ac mewn amryw olygiadau, trwy eu defnyddioldeb hwynt hefyd. Onid oes i ni le i farnu, fod Duw wedi cynnal a meithrin llawer cenedlaeth anrasol, *er mwyn* rhyw-rai o'u hiliogaeth yr oedd yn ei fwriad eu gwneuthur yn rasol, neu er mwyn gogoneddu ei ras ei hun yn eu hachubaeth hwynt? Ac onid yw nid yn unig tiriondeb a thirionwaith pobl a f'o heb ras, ond eu hannhiriondeb, a'u creulonwaith hefyd (trwy law ryfedd y Prynwr) er lles i'r eglwys?

Fe allai na bydd cyffelybiaeth ddim yn gwbl anaddas, nac yn anfuddiol. Y mae'r *byd* yn eiddo i'r eglwys, (1 *Cor*. 3: 22) ac felly yn fath o etifeddiaeth wedi ei rhoddi iddi gan ei Phriod a'i Phrynydd. Yn awr, pe rhoddai Tywysog etifeddiaeth fawr i'w Ddyweddi, byddai yn yr etifeddiaeth, ond odid, lawer o ddelliaid tir, a'u teuluoedd, llawer o weithwyr ac o weision, a morwynion, ie, a llawer o anifeiliaid, ac o bryfaid gwenwynig fe allai gydâ hynny, ac oll yn cael eu bywiolaethau: etto nid i'r rhai'n, na neb-un o honynt, yn hollol, nac mewn rhan, y mae'r etifeddiaeth yn perthyn, neu yn eiddo priodol, trwy hawl a rhodd-

* Sef, o gariad at, a gofal am, ei eglwys.

iad gan y Tywysog, ond i'w Ddyweddi yn unig. Ac onid yn debyg i hyn y mae i ni farnu am *y pethau da ynddynt eu hunain* sy'n dyfod i ranuau plant y byd hwn, sef eu bod yn cael eu mwynhau tan gysgod yr eglwys? Hefyd, er bod rhoddion Duw oll yn dda ynddynt eu hunain, etto ni a ddylem gofio gydâ dychryn duwiol, fod yr annuwiolion *yn felldigedig*, yn eu meddiannau tymmorol, eu cysuron, a'u gweithredoedd oll, (*Deut.* 28. 15. &c.) a bod y goreu hefyd o roddion ysprydol Duw, sef gweinidogaeth a gweinidogion yr efengyl, "yn arogl marwolaeth i farwolaeth" iddynt. (2 *Cor.* 2. 16.) Gan hynny pa ffrwyth o farwolaeth ac iawn Crist *a allwn ni farnu* ei fod yn dyfod i ran pechadur, hyd oni byddo mewn undeb â Christ? Ac, oni ddylem farnu am yr holl bethau da a gyfrennir i'r rhai sy'n byw ac yn marw yn elynion Duw, mai cyfranniadau ydynt er mwyn yr eglwys, sef er ei phrofi ai phuro hi, ac er mwyn ei pharhâd hi o genedlaeth i genedlaeth? Gwir yw, fod holl bethau da nefoedd a daear yn llaw a meddiant Crist; a gwir yw hefyd, mai er mwyn ei gorph ysprydol y mae efe yn cynnal, yn llywio, ac yn trefnu y cwbl oll. (*Math.* 28. 18. *Ephes.* 1. 20, 23. *Col.* 1. 17, 18, 24.)

*Ym.* A oes gènych ddim yn ychwaneg i'w ddywedyd ar y pwngc hwn?

*Hen.* Ni fedraf lai nâ beio etto ar y golygiad yr ydym yn sôn am dano, o herwydd hyn; Am weithred oruchel y Jehofa, yn rhoddi ei Fab, a gwaith anfeidrol raslawn y Mab, yn ei roddi

ei ben, tan y ddeddf ac i angau'r groes, nid yw y cyfryw olygiad yn ein dysgu i weled ynddo ddaioni a chariad y Personau dwyfol, mewn ymgynhyrfiad cynnaidd at yr eglwys, ond megis yn yr un radd o wrthgrwydd, a thu ag at yr anwir fyd, yr hwn y mae Duw wedi "ewyllysio dangos ei ddigofaint" yn ei erbyn; (er nad yw Duw yn ddig wrth ddyn, fel ei greadur, ond fel y mae yn bechadur.) Yn ol y golygiad neu y dyluniad hwn, meddaf, nid yw cariad *neillduol* Duw ddim yn dyfod i'r golwg, nac i gael ei arddangos, hyd pan y byddo efe yn rhoddi y gras o ffydd i'w rai dewisedig, i beri iddynt gredu yn yr hwn a anfonodd efe. Nid fel hyn y mae gair Duw yn egluro'r matter; ond gan ddangos, *yn gyntaf peth*, gariad goruchel ac arbenig y Personau Dwyfol at yr eglwys, yn rhoddiad y Mab i ddyoddef drosti, a'i phrynu, ac yna ei bywhau, ei heddychu, a'i hachub. (*Ioan* 3. 16, a 15. 13. *Rhuf*. 5. 8, 9; *Eph*. 5. 2. 1 *Ioan* 3. 16. a 4. 9, 10.)

Y mae hyn o grybwylliad byr, mi a feddyliwn, yn ddigon i ddangos fod yma goll a bai dwys. Ac, i ddiweddu yn bresennol, mi a chwennychwn i bawb ystyried a chydnabod, fod y bendithion anfesurol o Etholedigaeth (neu Ragluniad i fywyd,) Prynedigaeth (oddiwrth felldith y ddeddf,) Galwedigaeth (effeithiol,) Cyfiawnhâd, Sancteiddiad, a Gogoneddiad, oll o fewn yr un cylch, a thrwy ras yn unig yn perthyn i'r un personau, a'r un dyrfa aneirif a welodd Ioan, "mewn gwisgoedd gwynion," wedi dyfod "allan o'r cystudd mawr," a'u

gynaw yn gannedig, "yn ngwaed yr Oen," (*Dat.* 7. 13, &c.) Ni a gawn hyn oll yn amlwg mewn tair gwers o'r Bibl, sef *Rhuf.* 8. 30. ac *Ephes.* 5. 25, 26. "Y rhai a ragluniodd efe, y rhai hynny hefyd a alwodd efe, a'r rhai a alwodd efe, y rhai hynny hefyd a gyfiawnhäodd efe, a'r rhai a gyfiawnhäodd efe, y rhai hynny hefyd a ogoneddodd efe. "Crist a garodd ei eglwys; ac a'i rhoddes ei hun drosti, fel y sancteiddiai efe hi," &c. ac y mae'r un peth; o ran sylwedd, i'w weled mewn llawer o Ysgrythyrau ereill, os bydd i ni eu chwilio a'u cyd-ystyried yn ofalus.—Ar hyn yr wyf yn tewi yn bresennol, gan gofiâu am un Ysgrythyr yn ychwaneg, sy'n gwirio fod pob bendith ysprydol yn canlyn eu gilydd; ac felly bendithion Etholedigaeth, Prynedigaeth, Galwedigaeth, &c. (*Eph.* 1. 3.) "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â *phob bendith ysprydol* yn y nefolion leoedd," [neu mewn nefolion bethau], "yn Nghrist." A'r pethau a gyssylltodd Duw, na wahaned dyn.

*Ym.* Yr wyf yn ddïolchgar am hyn, gan obeithio y caf gyfle etto i ymddyddan â chwi ar bwngc arall, perthynol i Brynedigaeth: a'm dymuniad yw, fod i'r Arglwydd ein dysgu yn effeithiol yn mhob rhan o'i wirionedd, er ei ogoniant ef a'n iechydwriaeth ninnau.

# YMDDYDDAN II.

*Ar Holl-ddigonedd y Prynwr; neu anniherfynol werth ei aberth.*

---

*Ymofynydd.*

YN yr ymddyddan o'r blaen chwi a ddangosasoch eich meddyliau, mai i'w wir eglwys yn unig y mae Crist yn Brynwr ac yn Achubwr, yn ol arfaeth a chyfammod y Personau Dwyfol: ac yn awr, wedi cael hyn o gyfle y'mhellach, mi a chwennychwn wybod eich barn am hyn; A ddylem ni olygu y cyfammod, a fu rhwng y Personau Dwyfol, am brynedigaeth yr eglwys, fel pe byddai yn debyg i gytundeb, neu gyfammodau, sy'n gyffredin yn mysg dynion;—pob plaid yn gofyn, ac yn rhoddi, gwerth am werth manwl-gyfatebol; ac felly iawn Crist dros bersonau a phechodau ei bobl, yn gwneyd cymmaint ag a ellir ei gyffelybu i *glorianau gwastad*, y naill o'r un bwys a'r llall, heb un gronyn o fantoliad, neu o bwysau gydâ digon; os nad yw ymadroddion o'r fath yn rhy wael i'w harfer ar y fath fatter goruchel a dwyfol?

*Hen.* Wrth geisio ystyried un rhyw ran o athrawiaeth gras Duw, y mae'n rheidiol i ni, yn gyntaf dim, roddi heibio ein rhesymiadau dynol, gan ddymuno deall a derbyn tystiolaeth Duw ei hun yn y matter goruchel: Ac, yn yr un golygiad, mi a feddyliwn, os awn ni i farnu Prynedigaeth yn ol rheol pryniant neu gyfam-

modau dynol, ni a gyfciliornwn. Y mae rheol pryniadau a chyfammodau gan ddynion, yn debyg i hyn; gwerth am werth cydradd, cyffelyb, neu gyfatebol; punt am werth punt, &c; ac os bydd cosp yn rheidiol er iawn, rhaid yw rhoi megis dant am ddant o'r un fath, llygad am lygad, &c. Ond pe buasai i'r Personau Dwyfol edrych am ac at y cyfryw reolau yn yr achos anfeidrol hwn, ni buasai byth Brynedigaeth i bechadur. O herwydd yr oedd pechod dyn o'r fath natur anferth, fel gwrthryfel a bradwriaeth yn erbyn Bod anfeidrol, a chyflawn o buredd ac iawnder, fel nad allai yr holl greadigaeth roddi na dangos dim iawn addas yn y mesur lleiaf. Pe buasai hi yn cynnwys ynddi ryw bersonau neu drysor addas, diammau y gallasai Duw ei hannu yn filoedd, neu filiynau o filiynau, o ddarnau, tu ag at gael iawn cywrain ei bwysau: neu, fe allasai grëu miloedd o fydoedd yn ychwaneg, a'u rhoi megis yn y clorian, tu ag ei gael yn wastad ac yn llawn bwysau. Ond hyn ni wnaethai ddim iawn: gan hynny ni chafwyd ond un, MAB DUW, â digonedd ynddo, ac addasrwydd hefyd, trwy ei ymddarostyngiad, i roddi aberth a fyddai yn ddigonol er iawn, neu gymmod. A hwn nid oedd ganddo ddim llai, a dalai i'w gynnyg, nag EF EI HUN; nid rhan o hono ei hun, cofiwn, ond EF EI HUN yn gyfan-gwbl, yn y corph mewn undeb â'r enaid dynol darparedig iddo. Hwn yn unig a gafwyd, â modd ganddo, yn ei Berson yn gyflawn, yn Dduw ac yn ddyn, i roddi aberth ac

offrwm digonol: a hynny a wnaeth efe, "pan offrymodd efe *ef ei hun.*" Heb. 7. 27. Gan hynny nid oedd ganddo ef (gydâ pharch y dywedwyf) ddim mân werth i'w gynnyg: ond gan i'r fath Berson anfeidrol *ei roddi ei hun,* onid yw tystiolaeth ei air am hyn yn galw arnom, â llef uchel a chroywaf, i addef yn rhwydd ac yn ddibetrus ei fod yn aberth, yn iawn, yn Offeiriad, ac yn Gymmodwr, sydd â *holl-ddigonedd yn hanfodol* ynddo, fel y mae Duwdod ei hun yn holl-ddigonol, neu yn holl-alluog? A chan fod Duw yn dywedyd wrthym, mai EFE YW YR IAWN, (*nid yr un a dalodd iawn â rhywbeth oedd ganddo*) oni ddylem yn ebrwydd gydnabod, a chyhoeddi yn hyderus, ei fod ef yn iawn, o werth a gwiwdeb mor annherfynol a Duwdod ei hun? Y mae hyn i'w ystyried, a'i addef, fel pwngc arbenig *ar ei ben ei hun.*—Etto, yn ol sylwedd ein hymddyddan o'r blaen, gwir yw, fod y Person anfeidrol hwn wedi arfaethu a chyfammodi, ac, yn nghyflawnder amser, wedi ymddarostwng, i'w roddi ei hun *dros ei eglwys!* (Phil. 2. 6, &c. Eph. 5. 25.) O'i ras difesur, ac i fawrhau gras y Drindod, y gwnaeth efe hyn, (2 Cor. 8. 9. *Eph.* 1. 7.)

*Ym.* Mi a chwennychwn i chwi ddangos ychwaneg o brawf ysgrythyrol am werthfawrogrwydd annherfynol *gwaith* y Prynwr: o herwydd fe allai y dywaid, neu y meddwl ambell un, "Er fod Person Crist yn annherfynol ei werth, etto nid wyf fi ddim yn gweled fod ei *waith* felly, ond fod gwerth ei ufuddwaith a'i ddyoddefaint yn hollol fanwl a chywraint,

yn cyfateb i werth personau, ac i'r drwg sydd yn mhechodau yr etholedigion, neu y pryned-igion, heb y dim lleiaf yn ychwaneg." Yr wy'n gofyn hyn o herwydd i mi glywed un proffeswr yn beio ar linell o Hymn, "Y gair Gorphenwyd, &c. wnaeth i'r clorian pwysig droi."—Yr oedd efe yn meddwl mai *clorian gwastad*, a dim ychwaneg, oedd iawn Crist wedi ei wneuthur.

*Hen.* Y mae'n bosibl fod ambell un wedi meddwl yn lled gyffelyb, oddiwrth ei ddirnad-aeth am y gair *iawn*, yn 1 *Ioan* 2. 3. a 4. 10. —ond ystyr y gair (*ilasmos,*) a gyfieithir yno *iawn*, yw *dyhuddiant*, *yr hwn* (neu *yr hyn*) *a lonydda ddig*; neu *cymmod*, fel y mae ar ymyl y ddalen: ac yn lled gyffelyb y mae i ni ddeall y gair (*ilasterion*) yn *Rhuf.* 3. 25. yr un ag a arferir am y drugareddfa, yn *Heb.* 9. 5. am fod Duw oddi yno yn dangos ei ras a'i ddaioni, ac nid ei ddig, i Israel gynt.

Ond, i geisio ateb eich gofyniad o'i ddechreuad, yr wyf yn barnu fod gair Duw yn gwirio ac yn dangos, na ddarfu i ddynoliaeth Crist ddim iselu, gwaelu, na pheri anfri ar ei Dduwdod; ond i'r gwrthwyneb, fod y Person Dwyfol wedi peri derchafiad annhraethol nid yn unig i'w natur ddynol ef, ond hefyd i'w waith o ufudd-dod gweithredol a dyoddefol, a gyflawnwyd ganddo yn ei ddynoliaeth. "Y peth sanctaidd a enir o honot a elwir yn Fab Duw," meddai yr angel wrth Mair, (*Luc* 1. 35.) yr oedd y maban dynol, gwan, a bychan, yn wir Fab Duw: ïe, "y Duw cadarn, Tad

tragywyddoldeb," oedd efe; (*Esay* 9. 6.) ac felly y mae ei gyfiawnder, a'i iachawdwriaeth, a weithiwyd ganddo yn y ddynoliaeth, yn "*gyfiawnder Duw*," ac yn *iachawdwriaeth Duw*," (Rhuf. 3. 21, 22. *Act*. 28. 28.) a'i waed, â'r hwn y pwrcasodd efe ei eglwys, i'w gyfrif megis *dwyfol waed*; a'r un modd ei einioes, fel *einioes o werth dwyfol* (Act. 20. 28. 1 Ioan 3. 16) Cofiwn mai efe, yn ei holl ddwyfol rinweddau, a'i ufudd-dod yn y natur ddynol, yw "yr hwn a osododd Duw *yn iawn*:" (Rhuf. 3. 25. 1 Iöan 4. 10.) mai y Person anfeidrol hwn "a'i darostyngodd *ei hun*," (*Phil*. 2. 8.) "a'i rhoddodd *ei hun*," (Ephes. 5. 25.) "a thrwy yr Ysprydd tragywyddol a'i hoffrymodd *ei hun*" (Heb. 9. 14, 25) ac "a'i haberthodd *ei hun*:" (adn. 26.) Oddiwrth hyn oll mi dybygwn na ddylem er dim rhyfygu gosod terfyn i werth *gwaith* Crist, sef ei waith o ufudd-dod yn y ddynoliaeth, ond ei addef a'i ddatgan yn waith annherfynol ei wiwdeb (neu deilyngdod) fel y Person a'i gweithiodd. Ac oni fyddai anghysondeb o *natur gableddus* mewn dywediadau neu dybiau i'r gwrthwyneb?

Hefyd, mi a feddyliwn y dylem ystyried ymadroddion 'sy gan yr Apostol, yn *Rhuf*. 5, fel rhai yn tueddu'n hollol y ffordd hon; sef, y *mwy o lawer*, yn *adn*. 15. 17. a *rhagor amlhâd grâs*, yn adn. 20.—Yr wyf yn golygu tueddiad ac ystyr yr adnodau yn debyg i hyn: Er mai *llai o lawer* mewn nifer yw hiliogaeth ysprydol, neu brynedigion, yr ail Adda, nag ydyw'r hil naturiol, a'r colledigion, trwy'r Adda cyntaf;

etto gwirionedd tra gogoneddus ydyw, fod gras a rhinweddau'r ail Adda yn tra-rhagori, yn ngwyneb yr holl aflwydd a ddaeth i'r byd trwy yr Adda cyntaf: "mwy o lawer yr amlhäodd gras Duw, a'r dawn trwy ras *yr un dyn* Iesu Grist, i laweroedd." Y mae yma gadarnhâd i'r hyn a ddywedwyd o'r blaen, am Dduwdod Crist yn peri gwiwdeb i'w holl waith ac hefyd i'r gwirionedd hwn, sef, er fod iawn Crist, yn ol y cyfammod o Brynedigaeth, yn *effeithio* ar lai o nifer, i'w sancteiddio a'u cadw, nag y bu camwedd yr Adda cyntaf yn *effeithiol* i beri eu colliant; er hynny, mewn gwirionedd, y mae'r ail Adda yn tra-rhagori, yn ac o herwydd ei *rinweddau dwyfol:* neu, fel pe dywedasai yr Apostol, "*Dyn tra helaethlawn* yn nrygau ei gwymp, oedd yr Adda cyntaf: ond *Duw-ddyn, annhebfynol* yn ei gyfoeth o haeddiant ac o ras, ydyw'r ail Adda." Fel hyn y mae llïaws o awdwyr enwog yn deall, ac yn dehongli, y gwersi hyn.

*Ym.* A helaethwch chwi etto ychydig, tu ag at ddangos pa fodd y mae i ni gysoni hyn oll â'r golygiad sy gènym ar Grist, fel Mechnïydd, fel Iawn, ac fel Prynwr, dros, ac i'w wir eglwys yn unig?

*Hen.* Fy ateb yn fyr i hynny yw, trwy gael ein dysgu i edrych ar Berson a gwaith neu ufudd-dod Crist, fel gwrthddrych a matter mawr, *ar ei ben ei hun,* ac ar y cyfammod o ras a phrynedigaeth, fel matter arall, *gwahanol mewn rhyw ystyr;* er fod y naill a'r llall, fel dwy ddolen o'r un gadwyn euraidd, i'w cyd-

ryfeddu, a'u cyd-fwynhau; a phob un o honynt yn gofyn ein hymdrechiadau a'u herfyniadau dwysaf am gael iawn farn a chrêd am danynt, a mwynhâd efengylaidd ac iachusol ynddynt. Yn ngoleuni Duw, mi a feddyliwn, y dysgir ni i farnu, wrth ac yn ol tystiolaeth gair Duw, fod Person a gwaith Crist, neu (yr hyn a gyrhaedd i'r un peth) fod iawn Crist yn annherfynol ei werth a'i wiwdeb. (Yma mi a ddymunaf ddywedyd gydâ pharch a gorfoledd Crist'nogaidd, nis gellir hyd byth gael y pen draw i werth aberth ac iawn Crist, ddim mwy nag y gellir chwilio allan fawredd, gogoniant a pherffeithrwydd y Duwdod ei hunan!) Ond, yn nesaf, os edrychwn i'r amlygiad a roddodd Duw yn ei air, am ei gyfammod tragywyddol o brynedigaeth a gras, ni a gawn weled yno, fod nifer o ddynol-ryw colledig (nifer sy'n derfynedig gan Dduw, ac yn hyspys iddo ef yn unig) wedi cael eu *rhoddi* i'r Mab, tan ammod dwyfol, sef, fel y byddai iddo, trwy bryniad *drud iawn* iddo ef, a *chwbl raslawn* iddynt hwythau, eu "*llwyr-brynu* oddiwrth felldith y ddeddf," eu codi o'u trueni dwfn, a'u dwyn i ogoniant tragywyddol. (*Ioan* 6. 39. 10. 28, 29. 17. 2, 6, 9, 24.)

Os gofyn neb, pa ham y rhoddodd efe werth mor anfeidrol fawr am eiddo mor wael? ni's gallaf fi ei ateb yn llawn; ond mi dybygwn y gweddai fod hyn yn rhan o'r ateb, "Fel y gallai ddangos rhagorol olud ei ras!" Os gofynir y'mhellach, pa ham yr oedd yn rhaid i Fab Duw, Tywysog y bywyd, fyned tan ing a

chosp mor fawr? ac, onid oedd yma arwyddion a phrofion o wg a llid a fuasai yn llawer mwy nâ digon i lethu miloedd o fydoedd, a'u gwasgu i wae tragywyddol? Oedd, mi a feddyliwn; ac mi a ddymunwn ei feddwl gyd âg arswyd caruaidd a pharch o'r mwyaf: Etto nid oedd yma ddim anghyfiawnder yn cael ei wnëyd â'r Meichai mawr. Yr oedd ganddo awdurdod a meddiant ar ei einioes ei hun, (*Ioan* 10. 18.) yr oedd ei enaid yn ewyllysgar; (*Salm* 40. 6, 7, 8.) yr oedd ganddo ysgwyddau neu rym dwyfol; efe a orphènodd ddwyn y baich a'r gosb mewn amser byr: ac hefyd, heb i'r "cleddyf ddeffro" i ollwng gwaed, ïe, ei waed dwyfol ef, nid oedd maddeuant i *un* pechadur. Gyd â hyn oll, "O lafur ei enaid y gwêl, *ac y diwellir.*" (Esay 53. 11.) Yn y môr hwn bydded i ni, efo'n llestri bychain, aros yn agos i'r lan, heb ryfygu meddwl ei blymio na'i fesur. Etto cofiwn, os mewn undeb â'r Prynwr, ni a gawn, yn fuan, nofio yn ei ddyfnderoedd mwyaf, heb ball ar ein dealltwriaethau na'n mwyniant pur; a chawn ein digoni yn ei ryfeddodau cyflawn o ddoethineb a graslonrwydd.

Gydâ hyn, gwirionedd pwysfawr yw, mai tros bechodau ei wir eglwys y dyoddefodd efe, ac mai tros y personau a berthynant iddi y darfu iddo ei roddi ei hun, *yn ol cyfammod sicr a thragywyddol.* Mae hyn wedi ei wirio a'i brofi o'r blaen.

*Ym.* Y mae ambell un, ysgatfydd, yn tybied, gan mai tros ei eglwys yn unig y rhoddodd

Crist ei hun, ac mai y personau hynny o ddynol-ryw, a fyddant gadwedig, yna, pe buasai nifer ychwaneg, ychydig neu la er, wedi eu harfaethu i gael eu hachub, neu nifer mawr neu fychan ychwaneg o bechodau i gael eu maddeu, *y buasai raid i Grist ddyoddef ychwaneg yn eu hachos.* Beth a ddywedwch wrth hyn?

*Hen.* Cystal a fyddai i'r neb a ddychymygai fel hyn, fyned y'mlaen yn ei ddychymyg-waith, a thybied, pe buasai y Personau Dwyfol wedi arfaethu a chyfammodi i achub y dau cymmaint o hil Adda, yna, y buasai raid i'r Prynwr farw *ddwywaith*; a phe buasent yn fil cymmaint, yna, y buasai raid iddo farw *fil o weithiau!* Ac, wedi myned y'mlaen i'r radd a fynnai, yn ol ei fesur hwn, yna gallai droi yn ol, a thybied, pe buasai nifer y rhai cadwedig ond hanner yr hyn a fyddant, yna, na buasai raid i'r Prynwr ddyoddef ond *hanner* ei farwolaeth, neu golli ond *hanner* ei waed er eu prynu; a phe buasent ond y filfed ran, yna, mai y *filfed ran* a fuasai ei boenau yn eu hachos! Och! y mae hyn yn ddigon, os nid yn ormod, am y fath dybiad annoeth ac anferth.—Ond mi a chwanegaf fel hyn: Wrth olygu y cymhwysderau oedd yn rheidiol eu bod yn y Prynwr, (heblaw ei ddwyfol anfoniad) dylem ystyried y rhai'n oll: 1. Ei fod yn Berson Dwyfol: 2. Ei fod yn berffaith lân a sanctaidd yn ei genedliad, fel dyn: 3. Ei fod yn berffaith ufudd i gyfraith Duw yn ei holl feddyliau, ei eiriau, a'i weithredoedd: 4. Ei fod, nid yn ei gorph, ac nid yn ei enaid yn unig, ac nid chwaith yn ei ddynoliaeth yn unig (er mai ei ddynoliaeth oedd yn dyoddef) ond

yn ei Berson yn gyflawn, fel Duw a dyn, yn ei roddi ei hun yn aberth ac yn iawn.——Heb y cymhwysderau a'r cyflawniadau hyn oll, pa fodd y meddyliwn y gallasai efe fod yn Iawn dros nifer mawr na bychan o hil Adda, nac yn Brynwr i neb o honynt?

Yn awr, yn y tair rhan gyntaf o'r cymhwysderau hyn, mi a feddyliwn y bydd i bob dyn ystyriol gydnabod yn rhwydd, nad oedd, ac nad oes, dim lle i chwanegiad fod. Ac, am y rhan olaf hefyd, sef ei ddyoddefiadau, pwy a ddichon, pwy a feiddiai, ddychymygu am ffordd, modd, na mesur o chwanegiad atynt, gan iddo fyned tan y baich a'r poen a allai dwys lymder dialedd Dwyfol, a llid daear ac uffern eu pentyrru arno, a chael felly "ei *berffeithio* trwy ddyoddefiadau?" (*Heb.* 2. 10.) Dysged Duw i ni feddwl a chredu yn gywir am y Prynwr perffaith hwn, ac am ei waith sy'n berffaith, fel ef ei hun. Ond, i roddi eithaf tegwch i'r tybiad, pe byddai sail i ni feddwl y gallasai fod chwanegiad at ei boenau a'i ddyoddefiadau, yn ei gorph a'i enaid dynol, a wnaethai, neu a wnâi hynny chwanegiad at werth ei aberth a'i Iawn? Na wnâi, yn ostyngedig mi a feddyliwn: oni fyddai eisiau chwanegiad hefyd at y cymhwysderau ereill? a hynny mae'n amlwg ei fod yn anmhosibl. Gydâ pharch y dywedwyf, ni feddai Duwdod nn amgenach Person nâ'r un Dwyfol a roddwyd; ac ni feddai Duw fodd i greu na chenedlu glanach natur ddynol, na glanach Person yn mhob ymddygiadau, nag ydoedd, ac ydyw, ein Prynwr bendigedig: Ac

ni feddai y Prynwr fodd i roi chwanegiad at yr iawn, neu i roi amgenach iawn nag a roddodd efe, wrth ei *roddi ei hun!* Gan hynny os ydym yn addef fod gwiwdeb a gwerth annherfynol yn Mherson y Prynwr, ni a ddylem hefyd addef yr un modd am wiwdeb neu deilyngdod ei ufudd-dod, ei aberth, a'i iawn. Ac nis gallaf fi ddirnad fod modd i ni osod terfyn i werth ei aberth, heb ein bod, *mewn sicr ganlyniad,* yn gwadu, neu yn bwrw anfri o natur gableddus ar ei Dduwdod. Rhag hyn cadwed Duw ni oll.—Am y terfyn a osododd Jehofa ei hun ar *effeithiolrwydd* ei waith, yn, ac yn ol y cyfammod, y mae efe yn alluog ddigon i'w amddiffyn a'i gyfiawnhau, pwy bynag a feio arno.

*Ym.* Beth pe meddyliai ambell un, os oes megis digon a gweddill (o ran anghen yr eglwys) yn Nghrist a'i aberth, yna, fod Crist wedi gwneuthur rhan o'i orchwyl yn ofer, neu heb achos am dano? ïe, a gwaeth etto, ei fod wedi dyoddef dros ben yr hyn oedd gyfiawn?

*Hen.* Anhawdd yw cael diwedd ar resymiadau dynion; ond i hyn mi a attebaf yn fyr, gyd âg awdwr* teilwng o barch, "Y mae ynddo [sef yn Nghrist] wala a gweddill;" a chyd âg amryw enwogion† ereill, "Y mae ynddo ddigonedd a gorddigonedd:" etto ni buasai llai nâ holl gyflawnder gwerth a gwiwdeb ei Berson, ei ufudd-dod, a'i farwolaeth EF, ddim yn ddigon i achub y rhai a achubir, neu ei bryned-

* Mr Charles: Gwel ei *Geiriadur Ysgrythyrol*, tan y gair *Cyfammod o Ras*, pen. VII.

† Goodwin, Flavel, a llawer yn ychwaneg.

edigion a'i eglwys, nac ychwaith i achub *un pechadur*; o leiaf, yn ol goreu, tybygaf, o wybodaeth ddynol: Gan hynny ni wnaeth efe ddim o'i orchwyl *yn ofer*. Ac am ddyoddef *tros ben yr hyn oedd gyfiawn*, ni bu mo hynny chwaith iddo; o herwydd, fel y dywedwyd o'r blaen, ni allasai aberth llai fod yn ddigonol; ac ni allasai efe fod yn aberth, heb dywalltiad ei waed, ac heb ddyoddef digter dwyfol yn ei gorph a'i enaid dynol, a'i roddi ei hun hefyd, *yn ewyllysgar*, tan y baich. Yn yr achos hwn, neu yn ei le EF, ni buasai holl greaduriaid nef a daear ond *megis dim*: ond gan iddo EF ei roddi ei hun, yr oedd yn ddigonol gan-mil o weithiau yn fwy nag a fyddai *brenin dros bryfyn!* O fawredd y Person! O, fawredd ei gariad a'i ras! Ac nid i roddi dim baich ar gam, nac yn afreidiol chwaith, ar ei Fab, yr oedd Duw yn ei draddodi, ac yn peri i'r "cleddyf ddeffro yn ei erbyn," ond, "i ddangos ei gyfiawnder ef," (*Rhuf*. 3. 25, 26.) ac i fawrhau ei ras, yr hwn ni ellir ei ddirymu. (*Gal*. 2. 21. *Rhuf*. 4. 16. a 11. 5, 6. 2 *Cor*. 8. 9.) Gan hynny, penderfynwn mai nid yn ol mesurau dynol, nac yn ol amgyffrediadau helaethaf dynion, nac angylion, ond "yn ol ei gynghor ei hun," (mewn doethineb, iawnder, a chariad, sydd uwchlaw amgyffred pob creadur) y darfu i'r Jehofa gyflawni y gorchwyl anfeidrol o Brynedigaeth. Wrth edrych ar hwn y'nghyd â'i holl waith rhagluniaethol, tra chymhwys i ni lefain, gyd â'r Apostol, " O, ddyfnder golud doethineb a gwybodaeth Duw! *Rhuf*. 11. 33.

*Ym.* Gwnaf etto y gofyniad hwn; Beth os barna, neu os dywaid, ambell un, fod pechodau'r eglwys, neu'r prynedigion, wedi eu rhoddi ar Grist, megis wrth gyfrif, neu *rifiad* o'r manylaf, ac yntau wedi dyoddef rhyw fflangell am bob un o'u pechodau hwynt, yn gywrain yn ol eu maint a'u hamlder, ac felly rhyw fflangellau trymach, neu amlach, am bechodau rhai nag ereill? ac, mai pan oedd y dïaledd i gyd wedi ei dywallt yn y modd hwn, yn fanylaidd hollol, yr oedd y Prynwr wedi gwneyd iawn, ac yn cael llefain, "Gorphenwyd," ar y groes?

*Hen.* Am *rifiad* (er nad yw'r gair i'w gael yn *Lef.* 16. nac yn y Bibl, ar y matter hwn) yr wyf yn ateb, *yn gyntaf*, Gwir yw, fod y prynedigion oll, a'u pechodau oll, megis dan rif gan y Duw Hollwybodol; ac mai tros y personau hynny, ac yn achos y pechodau hynny, yr oedd Crist yn talu, yn ol arfaeth a chyfammod dwyfol: Etto cofiwn, y dylem wahaniaethu rhwng y cyfammod, sy'n *ddeilliad grasol* (neu fel môr *deilliadol*, o ras ac iawnder hefyd) a'r gwerth *hanfodol* sydd yn mherson a gwaed y Prynwr.

A wna hanesyn, fel cyffelybiaeth anmherffaith, roddi peth eglurhâd yn yr achos hwn? Lycurgus, llywydd a deddfwr rhinweddol yn ngwlad Groeg, a wnaeth gyfraith, yn pennodi, fod i bob un a gaid yn euog o odineb, gael tynnu ymaith ei *ddau lygad*: Ei fab ef ei hun, mab drygfoesawg ac aunheilwng o'r fath dad gwiw, a gaed yn euog o'r camwedd. Y tad,

i roi anrhydedd addas i'w ddeddf gyfiawn, ac i ddangos ei gariad cryf at ei fab, a gynnygiodd *un* o'i lygaid ei hun, yn iawn dros *un* o lygaid ei fab, er mwyn rhagflaenu ei ddellni hollol. Rhai o'i wŷr llŷs a arferasant amryw ddadleuon i'w attal, a hon yn eu mysg; fod *un* o'i lygaid ef o werth tra-mawr i'r wladwriaeth; ond, am ddau lygad ei fab anfoesol, mai da ar les y wladwriaeth fyddai iddo eu colli. Yr oeddynt hwy megis yn cyfrif *un* o lygaid y tad yn fwy nâ gwerth *deng mil* o lygaid y cyfryw wŷr a'r nad oeddynt o lês, ond fel pla, yn y wladwriaeth. Er hyn oll, a llawer o ddadleuon ereill, ymroddodd Lycurgus i gyflawni ei fwriad tadol; ac felly yr anrhydeddwyd y gyfraith, ac y prynwyd, neu yr achubwyd, *un* o lygaid y mab annheilwng.

Y casgliad addysgiadol a wnaf fi, yw hyn: Os oedd gwahaniaeth mawr rhwng *gwerth* llygad y tad gwiw, a'r mab anwiw hwnw, mwy, a mwy i annherfynolrwydd, yw y gwahaniaeth, yn yr achos sy gènym tan ein golygiad. Ac etto, wedi i'r Mechnïydd mawr fyned yn atebol am feiau, a thros bersonau ei bobl (er mor annheilwng a gorwael ydynt hwy) cyfiawn hollol ydoedd iddo farw yn eu lle a'u hachos, gan "ddwyn eu pechodau," a sylwedd eu cosp hwynt, "yn ei gorph, ar y pren," (1 *Pedr* 2. 25.)

Bellach am "y rhifiad manylaf," a'r "ffiangell am bob pechod," y soniasoch am danynt, yr wyf yn ateb fel hyn; Y mae'r neb a feddylio, ac a ymadroddo fel hyn, yn debyg i un

ddringai i gael cerdded canllaw'r bont, yn lle rhodio ar hyd ei chanol-ffordd, neu i un a gammai ar hyd ymylwaith cloch-dy, i ddangos fod ganddo ben cryf a throediad gwastad. Iē, y mae hyn hefyd yn rhy debyg i rannu Crist, neu roi gwrandawyr ar y ffordd i dybied mai rhyw *ran* o'i ddyoddefiadau a wna'r tro i un, a rhan arall, fwy neu lai, i bechadur arall. Ond nid felly, mi dybygwn, eithr yn hytrach fel yn golygu un swm annrhaethol fawr, mewn gofyniad, a chan roddi un swm anfeidrol fawr, yn y taliad, y bu i'r Meichai mawr ddilēu dyled ei eglwys; gan roddi gwerth "mwy o lawer" hefyd, er "rhagor-amlhâd gras," a gogoneddiad mwy i enw Duw "a'i Grist ef." Ond yn debyg i hyn, meddaf, y gweddai i ni feddwl am Grist yn dwyn pechodau ei bobl, megis i dir anghof, neu yn eu bwrw i ddyfnderoedd y môr, trwy rinwedd ei aberth, neu ei berson, ei ufudd-dod, a'i farwolaeth y'nghŷd? A chofiwn, nid *rhan* o Grist, na rhan o'i ddyoddefaint, a wna'r tro i un pechadur; ond cael Crist *yn rhan gyfan* iddo ef ei hun. Felly yr oedd Paul yn dal gafael ynddo: "Yr hwn a'm carodd, ac a'i dododd ei hun *drosof fi*;" (*Gal.* 2. 20.) ac yn yr un modd y gwna pob credadyn, yn ol mesur ei ffydd. Ond i mi rodio yn ngoleuni a gwres yr haul naturiol, y mae y cyfan o hono ac o'i rinweddau, mewn ystyr, yn eiddo i mi: ac etto y mae y cyfan o hono yn rhan i gannoedd o filiynau, gystal ag i minnau; ïe, y mae ynddo ddigonedd, a gorddigonedd, i filiynau o filiynau yn rhagor nag sy'n byw ar wyneb y

ddaear. Ac os oes y fath gyflawnder o oleuni a gwres yn yr haul naturiol, sy'n rhan *fechan o greadigaeth Duw*, oni weddai i ni feddwl mor helaeth am rinweddau ysprydol *Haul cyfiawnder*, "yn yr hwn y mae *holl gyflawnder y Duwdod* yn preswylio yn gorphorol," (neu yn bersonol?) *Col.* 2. 9.

*Ym.* Er hyn oll, fe allai y tybia ambell un, na ddylai pregethwyr ddatgan gwahoddiad, nac annog eu gwrandawyr, ond yn debyg i hyn; "Y mae digon i chwi oll yn Nghrist, *os* bydd i chwi oll gredu ynddo;" Gofynaf etto eich sylwad a'ch ateb ar hyn.

*Hen.* Y mae'r dywediad yn wir; etto nid yr *holl wir* ydyw: nid yw yn fynegiad o "holl gynghor Duw," fel y mae wedi ei ddatguddio ar y matter hwn. Peth arswydus fyddai i ni feddwl, fod i ddigonedd Crist ymddibynu ar grêd y dyn! Y mae'r hyn a ddywedwyd o'r blaen, yn tueddu i ddangos, (ac mi obeithiaf y dangoswyd allan o air Duw) fod Crist yn *aberth ac yn iawn holl-ddigonol*; ac nad yw ei osodiad i fod yn *aberth ac iawn dros ei eglwys* yn lleihau dim ar ei rinwedd a'i *werth hanfodol*, neu werth ei Berson a'i waith dwyfol.—Yma cymmerwn etto olygiad byr, trwy gyffelybiaethau, er eu bod yn anmherffaith; am nad oes dim mewn natur a etyb yn llawn i bethau ysprydol. Y mae tyrfaoedd o bobl yn byw tan y ddaear, mewn gweithiau halen, a gweithiau ereill, o fewn rhai gwledydd: Pe dywedai un wrth y rhai'n, Y mae digon o oleuni a gwres haul i'w cael, *os* deuwch chwi i fynu o'ch cell-

oedd dynion: pe dywedid hefyd wrth dyrfa gwlad, y mae digon o ddwfr yn y ffynon, neu'r afon, i dorri eich syched, *os bydd i chwi ei yfed*; neu wrth dyrfäoedd y byd, y mae yn y môr mawr ddigon er eich trochiad a'ch glanhâd, *os* chwi a ymdróchwch ynddo; byddai hyn oll yn wir. Ond er hyn, oni allai rhyw rai, ffol neu gyfrwys, ateb, "Gan mai felly y dywedwch, heb ddim ychwaneg un amser yn eich gwahoddiad, yr ydym ni yn barnu nad oes dim digonedd yn yr haul i oleuo a gwresogi, yn yr afon i ddisychedu, nac yn y môr i olchi, *ond yn unig mewn cyfatebiad manwl i nifeiri ac anghenion y bobl a geir i'w defnyddio.*" Erbyn hyn, oni fyddai yn llawn bryd i ni geisio eu haddysgu yn well? gan ddangos mai un peth yw *y cyflawnder naturiol* a osododd Duw yn ei greaduriaid hyn, ac mai peth arall yw *ei waith rhagluniaethol*, yn trefnu dynion i'w defnyddio at eu hanghenion prïodol? Cymhwys ynte, weithiau o leiaf, fyddai gadael yr *os* allan, a dywedyd yn groyw, Pa un bynag ai tan y ddaear, ai arni, yr anneddwch chwi, yr un yw goleu a gwres yr haul; pa un bynag ai yfed o'r afon, ai peidio, a wnewch chwi, yr un yw ei digonedd hi; ac er i chwi wrthod ymdrochi, yr un yw cyflawnder y môr.—Y cymhwysiad o hyn yn fyr yw, (a bydded yn argraffedig byth ar ein calonau) y gweddai i ni oll lefain am adnabod Crist fel aberth ac offeiriad *holl-ddigonol*, "wedi ei berffeithio yn dragywydd;" ac y dylai pob gweinidog i Grist feddu deall ac yspryd i'w gyhoeddi fel y cyf-

ryw, gan ddysgwyl wrtho ef ei hun am gymhwyso rhinweddau ei waed at ei eiddo priodol, yn ol y cyfammod tragywyddol. Ac, heb y fath olygiad, ni fedraf fi ddeall fod modd i un gweinidog, yn ddibetrus, wahodd ei wrandawwyr oll at Grist, gan nad yw efe yn barnu fod *digonedd* ynddo ond i'w eiddo priodol, ac nas gall efe wybod eu bod *oll* wedi eu rhoddi iddo yn yr arfaeth, a'r cyfammod o brynedigaeth.—Ond gorchymyn Crist ydyw, "Ewch, a phregethwch yr efengyl *i bob creadur*:" ac oddiwrth hyn etto ni a allwn gasglu, fod ynddo ef ddigonedd at eisiau ysprydol pob creadur, sef pob creadur o ddyn; pe amgen, pa beth a ddeuai o'i wirionedd didwyll, gan iddo roddi y fath orchymyn a chènadwri helaeth?

Hefyd, mi a ddymunwn i hyn gael ei ddwysystyried: Pe na byddai digonedd diderfyn yn Nghrist, oni allai'r anghredinwyr ynddo, yn uffern, fytheirio yr edliwiad gelynol byth, a hynny *gydâ chywirdeb*, yn erbyn y Nef, gan groch-gablu, *Nid oedd dim digon yn Nghrist i'n hachub ni, na chymmaint ag un o honom; ac, er i ni gael ein gwahodd ato, nid oedd dim sail i'r gwahoddiad?*——Pa gableddau bynag, fydd gan luoedd dystryw, gallwn fod yn hyderus na bydd dim sail i un o honynt mewn iawnder a chywirdeb. Y mae'r athrawiaeth am raglunmiaethad ac etholedigaeth, o'i hiawn-ddeall, y'nghyd â phob rhan o air Duw, yn gadael beiau a cholledigaeth dyn *ar y dyn yn unig*. Ond (meddaf) pe na byddai digonedd annherfynol yn Nghrist, oni fyddai'n rhaid addef

wledd yr efengyl, nad oes ynddi *ddim lle na dim modd i ddiwallu*, ond yn unig yn ol y nifer sy'n dyfod i'w mwynhau?—Ni chafwyd, ac ni cheir mo hyn yn wirionedd.

Y'mhellach, ac i ddiweddu yr ymddyddan y tro hwn, gan fod Duw Dad yn Hollalluog, oni ddylem ni gredu, fel y mae llawer o wŷr da wedi sylwi, y gallasai efe greu a gwneuthur aneirif bethau, heblaw yr hyn a wnaed ganddo? Oni allásai efe greu nefoedd a daear mewn llai nâ chwe' munudyn, yn lle mewn chwe' diwrnod? a chreu bydoedd lawer, a chreaduriaid afrifed ynddynt, heblaw y rhai a grewyd ganddo? Gallasai yn ddïammau; mae ei Hollalluogrwydd yn ddigon i dystio a phrofi hyn; ac ynfyd fyddai i neb feio ar y fath grêd neu ddywediadau.—A chan fod yr Yspryd Glân yn wir Dduw, onid yw hynny yn gwirio ei *ddigonolrwydd* i fod yn Sancteiddydd i filoedd o fydoedd o ddynion, *pe buasai hynny yn osodedig*, yn lle i nifer ei etholedig bobl yn unig, *fel y mae'n osodedig iddo*, yn yr arfaeth a'r cyfammod? Yn gyffelyb, cydnabyddwn fod ein Prynwr a'n Iachawdwr yn *holl-ddigonol*, yn rhinwedd ei Berson dwyfol, a gwiwdeb neu deilyngdod dwyfol ei waith, gan iddo "ei *roddi a'i aberthu ei hun*!" Na ryfygwn, meddaf, osod terfyn i *werth Crist a'i aberth*; ond gadawn y terfyn i sefyll, fel y cafodd ei osod ganddo ef ei hun, y'nghyd â'r Tad a'r Yspryd, o ran *effeithiolrwydd ei waith, yn y cymhwysiad o hono, ac yn nifer ei brynedigion.*

*Ym.* Yr Arglwydd a roddo i ni ddeall da yn mhob peth.

---

## YMDDYDDAN III.

*Ar holl-ddigonedd Crist, neu annherfynol werth ei aberth.*

---

*Ymofynydd.*

GAN fod rhagluniaeth wedi trefnu etto i ni gyd-gyfarfod, yr wyf am gymmeryd y cyfle i ofyn gènych hyn yn ychwaneg: A ellwch chwi ddangos prawf addas, fod yr eglwysi a'r duwinyddion enwog a fu yn amddiffynwyr yr athrawiaeth o *brynedigaeth neillduol a phersonol*, yn dal hefyd o blaid *holl-ddigonedd iawn Crist* (yn ol sylwedd yr Ymddyddan diweddaf rhyngom) ac nid yn cyfrif ei aberth a'i iawn ef *fel cydbwys manwl-gywrain â beiau a phersonau'r eglwys, a dim ychwaneg?*

*Henwr.* Yr wyf yn foddlawn i'ch gofyniad, gan feddwl y gallaf ei atteb, yn ol eich dymuniad. Dymunaf finnau, fod i'r tystiolaethau sy'n ymgynnyg ar y matter, gael eu hystyried yn ddyladwy: ïe, mi obeithiaf y byddant er boddloniad i rai, a allent fod yn lled sigledig yn yr achos, pe byddai y rhai'n yn eisiau.

*Ym.* Chwi a ddangosasoch yn yr Ymddyddan cyntaf fod peth gwahaniaeth ar y pwngc o brynedaeth, rhwng y Duwinyddion lliosog ac enwog yn Nghymanfa Dort, (er eu bod *oll* yn gwrth-

wynebu y farn Arminaidd;) yn awr mi a ofynaf, a oedd yno wahanol farnau ar y pen hwn? neu rai yn addef, a rhai yn gwadu gwerth annherfynol aberth Crist?

*Hen.* Yn ol hanesion digon eglur a phenodol mi allaf ddywedyd, nid oedd yno neb yn gwadu, ond i'r gwrthwyneb *pawb oll yn addef, ac yn cyhoeddi* (yn ol ystyr eu penderfyniadau) *fod yn Nghrist ddigonolrwydd annherfynol* i achub pechaduriaid. *Yn gyntaf*, Am y gwŷr o Loegr a Brethen (golygiad y rhai y buom yn sôn am dano) yr oeddynt hwy yn datgan eu barn yn ol ystyr yr hyn a gawn yn Erthygl XXXI, o eiddo Eglwys Loegr, ac yn y modd hwnw yn dangos eu bod yn cyfrif iawn Crist yn *annherfynol ei werth*: Ond (gan chwilio am farn *amddiffynwyr rywiraf prynedigaeth neillduol*) ni a awn y'mlaen. *Yn nesaf*, Am y lleill yn y gymanfa nodedig hono, tros lawer o Eglwysi Protestanaidd (sef Switzerland, Geneva, y Palatinate, neu Dalaeth y Rhine, tros Hessia, Nassau, taleithiau Holland, &c. yr oeddynt oll yn barnu mai *i'w wir eglwys yn unig y mae Crist yn Brynwr*; ac yr oeddynt oll hefyd yn datgan eu barnau yn ol yr ystyr canlynol, gan wahaniaethu rhwng **digonolrwydd* ac *effeithiolrwydd* ei waith: Yr oeddynt yn ei gyfrif o herwydd mawredd ei Berson, a'i waith, *yn iawn digonol tros y byd oll i gyd*, pe buasai hyny yn y cyfammod, ond,

* Edrycher y Llythyrau, gan Hales a'r Dr. Balcanqual, sydd yn niwedd Llyfr *Hales's Golden Remains*; neu ryw Hanes am Gymanfa Dort.

yn ol y cyfammod, *yn iawn effeithiol dros ei wir eglwys yn unig.*

O roddi hyn oll y'nghŷd, y mae'n ddigon amlwg fod y naill blaid fel y llall, yn y Gymanfa honno, yn addef ac yn amddiffyn *holl-ddigonedd iawn Crist*, sef, mewn golygiad* ar ei werth hanfodol, neu ynddo ei hun. A phe buasai gwŷr o eglwysi'r ‡Lutheriaid yn y Gymanfa, y mae lle i farnu y buasent hwythau yn addef yr un peth, ond gydâ golygiad tebyg i wyr Lloegr a Bremen (y soniwyd am dano o'r blaen;) à thebyg i hynny oedd golygiad Luther ei hun, a llawer o'r Diwygwyr.

*Ym.* Mi a glywais fod llawer o rym a sylwedd crefydd yn mysg Protestaniaid Ffraingc, yn y blynyddoedd hynny; ac mi ofynaf gènych ddangos prawf am eu golygiad hwythau ar y pwngc sy dan ein hystyriaeth, yn enwedig os ydynt i'w cyfrif fel iawn amddiffynwyr prynedigaeth neillduol.

*Hen.* Mi a feddyliwn eu bod; ac ond odid na farnwch chwithau felly wrth eu hymadroddion. Yn y Gymanfa fawr yn Charenton,† yn y flwyddyn 1623, hwy a gyhoeddasant eu barn yn y modd canlynol.

*Canon* 3 (ar brynedigaeth) "Marwolaeth Mab Duw ydyw'r un, unig, a pherffeithiaf aberth ac iawn dros ein pechodau ni; gwerth

‡ Mewn hanes helaethach am y Gymanfa hon, a welais yn ddiweddar, yr wyf yn cael, fod ynddi amryw Lutheriaid. Gwel SYNOD of DORT, &c. gan y Parch. T. Scott, p. 126.

† Gwel *Quick's Synodicon*, Part 2. P. 134.

a gwiwdeb yr hon [farwolaeth] sydd yn anherfynol; a'r un sy'n helaeth ddigonol i wnëyd *iawn am bechodau yr holl fyd i gyd*:"

*Canon* 4. "Ac y mae'r farwolaeth hon o werth ac urddas cymmaint, am fod y Person a ddyoddefodd nid yn unig yn wir ddyn, ac yn berffaith sanctaidd, ond hefyd yn Fab Duw, o'r un Hanfod tragywyddol a'r Tad a'r Yspryd."

*Canon* 8.——" Ewyllys Duw oedd, fod i Iesu Grist, trwy waed ei groes, yn yr hwn y seliodd efe y Cyfammod Newydd, brynu mewn modd effeithiol y rhei'ny oll, *ac nid neb arall*, allan o bob cenedl, teyrnas, pobl, ac iaith, y rhai er tragywyddoldeb a etholwyd i iachawdwriaeth, ac a roddwyd iddo gan y Tad."

Oddiwrth hyn, yn fyr, am farn y ddwy Gymanfa a nodwyd, ni a allwn weled, fod *yr holl Eglwysi Protestanaidd*, oedd yn amddiffyn *prynedigaeth neillduol*, yn cyhoeddi ac yn amddiffyn hefyd *holl-ddigonedd y Prynwr*. Yr oedd gwŷr y ddwy Gymanfa yn cynddrychioli amryw filoedd o *weinidogion duwiol*, mi dybygwn, a'u *cynnulleidfäoedd*.

*Ym*. A ewch chwi y'mlaen ynte, i bennodi tystion ychwaneg.

*Hen*. Yn hytrach mi a dröaf ychydig yn ol at dystiolaeth yr enwog Mr. Perkins, oedd yn wr o Eglwys Loegr, ond er hynny yn *amddiffynydd cadarn* i'r athrawiaeth iachus o brynedigaeth neillduol. Yr oedd wedi marw rai blynyddoedd o flaen amser Cymanfa Dort. Mae ei Waith yn Dri Llyfr Unplyg: ac allan o'r *cyntaf* o honynt mi a ddangosaf ychydig.—

Yn nechreu'r Llyfr y mae ganddo Gatecism ar Egwyddorion Crefydd, ac yn hwnw (*tu dal.* 1, 2, 4, 5.) amryw ymadroddion yn addef ac yn datgan *holl-ddigonolrwydd haeddiant Crist.*—*Tu dal.* 108, wrth sôn am "drugaredd Crist, a'i Brynedigaeth," y mae'n chwanegu, "Rhaid i ni ei mesur hi wrth y *digonedd a'r gwiwdeb sydd ynddi*, yn hytrach nag wrth *nifer y rhai y cyfrènir hi arnynt.*"—*Tu dal.* 187. "Pan yr ydym yn dywedyd, fod Mab Duw wedi dyoddef, rhaid yw deall hynny, gan wahaniaethu dwy natur Crist, nid mewn golygiad ar ei Dduwdod, ond mewn golygiad ar y ddynoliaeth a gymmerodd: etto er hyn y mae'r dyoddefaint i gael ei gyfrif i holl Berson Crist, Duw a dyn: ac oddiwrth urddas y Person a ddyoddefodd y mae gwiwdeb a rhagoroldeb y dyoddefaint yn cyfodi; a thrwy hynny y mae, mewn gwerth a phris, yn gyfartal i ddamnedigaeth dragywyddol. O herwydd, gan i Fab Duw ddyoddef y felldith dros amser byr, *y mae hynny yn fwy nâ phe buasai dynion ac angylion, i gyd oll, wedi eu rhoddi i'w dyoddef am byth.*"

Drachefn (*tu dal.* 396.) ar ol dadleu'n helaeth nad yw Crist ddim wedi rhoddi ei hun yn iawn boddlonol, ond *dros ei ddefaid*, neu ei wir bobl, y mae'n chwanegu, "yr ydym ni yn addef, *fod marwolaeth Crist yn ddigonol i achub llawer mil o fydoedd*; yr ydym yn addef ei bod yn mhob modd yn dra effeithiol *ynddi ei hun*; ond ei bod yn effeithiol *i bob dyn yn bersonol*, hynny yr ydym yn ei wadu."

Cymmerwch hyn, yn lle llawer ychwaneg i'r un perwyl, a allasid ei ddangos allan o waith Perkins, *yr eglwyswr Puritanaidd*, fel yr oedd rhai yn ei alw.

*Ym*. A ewch chwi ymlaen at waith rhai o'r Puritaniaid?

*Hen*. Yn enau a thyst dros Buritaniaid Ynys Brydain, anhawdd cael neb amgenach nâ'r enwog *Dr. John Owen*: Ac yn ei Draethawd *o blaid Prynedigaeth Neillduol* (*Death of Death*, &c.) ni a gawn yr hyn a ganlyn:

P. 97. "Am werth, gwiwdeb, ac urddas y pridwerth a roddodd Crist, wrth ei roddi ei hun, a'r taliad a dalodd efe felly, yr oedd yn annherfynol ac anfeidrol, yn addas i gaffael un rhyw ddaioni, i bawb a phob un y byddai hynny wedi ei fwriadu iddo, pe buasent yn filiynau o ddynion mwy nag a grewyd erioed."

P. 139. "Cafodd Duw ei foddloni yn ufudd-dod, offrwm, ac aberth ei Fab *yn fwy* nag y cafodd ei anfoddloni trwy bechodau a gwrthryfeloedd yr holl rai etholedig."

P. 173. "Gan hynny arfaeth a bwriad Duw ydoedd, fod i'w Fab offrymu aberth o werth ac urddas annherfynol, digonol ynddo ei hun i brynu pawb a phob rhyw ddyn, pe buasai yr Arglwydd yn gweled yn dda ei ddefnyddio i'r dyben hwnw, ïe, a bydoedd ereill hefyd, pe byddai hyn yn bod, ddarfod i'r Arglwydd ewyllysio eu creâd a'u pryniad. Digonol ynte, ni a ddywedwn, ydoedd aberth Crist er prynedigaeth i'r holl fyd, ac i fod yn iawn *(neu

* Expiation yw y gair Saesoneg.

iawniad) dros bechodau pawb oll, a phob dyn o fewn y byd. Mae y digonolrwydd hwn, sydd yn ei aberth, yn tarddu o achos dyblyg; *Yn gyntaf*, Urddas y person a offrymodd, ac a offrymwyd; *Yn ail*, Mawrder y poen yr aeth dano. Yr oedd efe yn alluog i ddyoddef, ac efe a ddyoddefodd holl felldith y gyfraith, a digofaint Duw oedd yn ddyledus am (neu i) bechod: Ac y mae hyn yn dangos allan wiwdeb hanfodol a gwerth gwirioneddol tywalltiad gwaed Iesu Grist: Hyn yw ei wir berffeithrwydd a'i *ddigonolrwydd ynddo ei hun*. Ond, fod iddo gael ei gymhwyso at ryw-rai, ei wneuthur yn *bridwerth drostynt hwy*, a bod yn fuddiol iddynt yn gyfatebol i'r gwerth sydd ynddo, peth gwahanol yw hyn, heb fod y'nglŷn wrth y llall, ond yn ymddibynu'n gwbl *ar fwriad ac ewyllys Duw*. Yr ydoedd ynddo ei hun o *werth annherfynol*, ac yn *ddigonol* i gael ei wnëyd yn bridwerth, er prynu a phwrcasu pawb a phob dyn o fewn y byd. Ond, ei fod *yn bridwerth yn ol ffurfiad effeithiol, tros ryw-rai*, peth ydyw hyn sydd i'w gyfrif i arfaeth (neu gyfammod) dwyfol, yn bwriadu eu pwrcasiad a'u pryniad *hwynt* drwyddo. Bwriad yr offrymydd, a'r derbynydd hefyd, am iddo fod *dros y cyfryw, dros rai, neu dros ryw-rai*, ydyw yr hyn sy'n rhoi iddo y ffurf effeithiol, fel pridwerth: a pheth gwahanol [oddiwrth ei werth hanfodol] ydyw hyn. Ond y mae ei wiwdeb [neu ei deilyngdod] a'i addasrwydd i fod yn bridwerth, yn beth sy'n tarddu oddi-

wrth y *digonolrwydd mewnol** sydd ynddo."—Etto, yn chwanegiad eglurhäol.

P. 174. "Gwirionedd tra sicr yw, fod gwaed Crist yn ddigonol at fod yn bridwerth dros bawb oll, fel y dangoswyd o'r blaen: O herwydd," [ystyrier hyn,] "iddo fod yn bridwerth, dros bawb, neu dros rai, nid yw yn cyfodi oddiwrth y digonolrwydd, y gwerth, a'r gwiwdeb sydd ynddo o'i ran ei hun, ond oddiwrth fwriad Duw a Christ, yn ei ddefnyddio i'r cyfryw ddyben, fel y dywedwyd o'r blaen: Ac am hynny yr ydym yn gwadu fod gwaed Crist yn dâl ac yn bridwerth dros bawb oll o ddynol ryw, nid am nad ydoedd yn ddigonol, ond am nad ydoedd yn bridwerth."

Drachefn, P. 175. "Er anrhydedd Iesu Grist, ein Cyfryngwr, Duw a dyn, ein Prynwr hollddigonol, yr ydym yn gwirio, y cyfryw ac mor fawr ydoedd gwerth a gwiwdeb ei farwolaeth a thywalltiad ei waed ef, mor dra gwerthfawr, mor annherfynol gyflawn a digonol ydoedd ei waith, *pan offrymodd efe ei hun*, hyd onid ydoedd yn mhob modd yn alluog a pherffaith ddigonol, i brynu a chyfiawnhau, cymmodi ac achub yr holl bechaduriaid o fewn y byd, ac i foddloni cyfiawnder Duw am holl bechodau dynol-ryw i gyd, a'u dwyn hwynt bob un i dragywyddol ogoniant."

"Yn awr, y mae'r cyflawnder a'r digonol-

---

* *Internal* yw y gair Saesoneg; sef yn berthynol iddo o ran ei werth hanfodol, neu fri y Person Dwyfol a offrymodd ei hun yn y cnawd.

rwydd hyn o haeddiant marwolaeth Crist yn sail i ddau beth; *Yn gyntaf*, I'r cyhoeddiad cyffredinol o'r efengyl i'r holl genhedloedd, y'nghyd â'r hawl sy ganddi i gael ei phregethu i bob creadur, (*Math.* 28. 27. *Marc* 16. 16) am fod y ffordd o iachawdwriaeth y mae hi yn ei chyhoeddi, yn ehang ddigon i bawb oll rodio ynddi. Mae digon yn y feddyginiaeth y mae hi yn ei amlygu, i iachau eu clefydau oll, a'u gwaredu oddiwrth eu holl ddrygau. Pe byddai *mil o fydoedd*, gallai efengyl Crist, ar y sail hon, gael ei phregethu iddynt oll i gyd, am fod digon yn Nghrist er iechydwriaeth iddynt oll, os bydd iddynt hwy ond tynnu rhinwedd oddiwrtho, trwy gyffwrdd âg ef mewn ffydd, yr unig ffordd i dynnu adfywiad allan o'r ffynon hon o iachawdwriaeth."——Drachefn, P. 176, "Mae y digonolrwydd hwn a ddarluniasom, (meddaf) yn sail ddigonol i bregethu'r efengyl i bob dyn."

"*Yn ail*, Tra y mae pregethwyr yr efengyl yn hollol anwybodus o fwriad a chynghor dirgelaidd Duw, ac hefyd dan waharddiad i chwilio a thrèmio iddo, (*Deut.* 29. 29) hwy a allant oddi yma, yn ddibetrus, alw ar bob dyn i gredu, gan wybod, a bod yn llawn-hyderus, fod digon yn marwolaeth Crist i achub pob un a wnelo felly; a chan adael arfaeth a chynghor Duw, i bwy y rhydd efe ffydd, a thros bwy yn bennodol y bu Crist farw, iddo ef ei hun, megis y mae yn orchymynedig arnom."

Drachefn, P. 291. "Nid peidio â chredu fod Crist wedi marw dros bob perchen enaid

ydyw'r achos o ddystryw dynion, ond *anghredu holl-ddigonolrwydd* dyoddefaint ac offrymiad Iesu Grist dros bechaduriaid," &c. &c.—Yma gwelwn farn y Dr. Owen am y pechod o anghredu holl-ddigonolrwydd Crist.

Yn nesaf at y Dr Owen, y mae ei gyd-oeswr a'i gyfaill enwog, y *Dr. Thomas Goodwin*, yn cynnyg ei dystiolaeth eglur, ar yr achos pwysfawr hwn: ac o'i waith ef (sy'n Bum Llyfr Unplyg a helaeth) yr wyf yn pigo ychydig ymadroddion, yn lle mwy a allasid ei gael i'r un perwyl.

"Dywedir ei fod ef [y Messia] *i ddybennu camwedd, ac i selio pechodau, ac i wneuthur cymmod dros anwiredd ac i ddwyn cyfiawnder tragywyddol*; (Dan. 9. 24.) hynny yw, y fath gyfiawnder ag a wna, trwy rym a bytholrwydd ei deilyngdod, ddiweddiad bythol ar bechodau, a wna gymmodiad mor dragywyddol ag ydyw [y cyfiawnder] ei hun, ac a'n gwna ni yn gyfeillion am byth. O herwydd y mae'n gyfiawnder o'r fath, *hyd onid yw yn ddigon llydan i guddio miliynau o fydoedd o bechodau;*" [neu bechodau miliynau o fydoedd:] "felly o'r fath hyd, na ddichon amseroedd tragywyddol mo'i wisgo allan, wedi iddo unwaith gael ei gyfrif." (*Vol.* I. Preg. ar *Col.* 1. 20.)——Mae ganddo ymadroddion ereill o'r un tueddiad yn yr un Bregeth: ac allan o'r un o'i blaen (ar *Heb.* 10. 4, 5, &c.) y mae yr hyn a ganlyn;

"Yn awr, os efe, *yr hwn ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw* (Phil. 2. 6.) *a'i darostyngodd ei hun, gan fod yn ufudd hyd*

*nnghu* (fel y cawn yn *adn*. 8.) ai ni wna hyn iawn? ——Neu, ai ni wna ei iawn ef y tro ond dros un? Gwna, *dros fydoedd*," (Rhuf. 5. 17, 18, 19.)

Yn ei Drydydd Llyfr, (*Rhan* 3, *tu dal*. 132.) y mae ganddo yr un geiriau drachefn; "Y mae iawn Crist *yn ddigonol tros fydoedd*:" ac yn y tu dalen nesaf (133) y mae'n diweddu y Rhan honno o'r Llyfr fel hyn: "Ië, y mae teilyngdod ei ufudd-dod hwn mor fawr, fel na chaiff byth ei wobrwyo yn llawn; ni chaiff y saint mo'r llawn werth o hono, mewn gogoniant, hyd dragywyddoldeb."—Rhodded Duw i ninnau yr un meddyliau am Grist, ac anfeidroldeb ei waith.

Nid anhawdd fyddai casglu cryn lyfr, i'r un ystyr a pherwyl, allan o waith y gwr hwn, sy'n amddiffynwr nodedig ac enwog i'r athrawiaeth o *brynedigaeth neillduol*: ond, rhag gormod meithder, ni pheunodaf ond ei ymadroddion mewn un *tu dalen* yn ychwaneg, (sef Llyfr III. *Rhan* 5. *tu dal*. 343.) Mae hyn yn grynodeb byr o'r hyn sy ganddo yno:—"Ystyriwn, Fel nad yw holl wiwdeb cyfiawnder Crist, a gyflawnwyd ganddo yn natur dyn, ddim yn cyrhaedd yr angylion (*Heb*. 2. 6, 7.) er y byddai, mewn golygiad ar ddynol-ryw, yn ddigonol i achub a chyfiawnhau miliynau annifeiriol: dywedir am hynny, fod ei wiwdeb hwn yn *annherfynol yn ei haeddiant sylweddol, er nad yn ei lydander cymhwysiadol*.—Y mae ufudd-dod dyoddefol Crist yn ddigonol i dynnu ymaith euogrwydd *pechodau yr holl fyd*:—mae cyf-

gyrhaedd i ddim ond *sem terfynol*; ond y mae y gwaed hwn yn *annherfynol yn ei werth a'i urddas*. Am hynny, gan nad oes mo'r un byd cyfan, nac oes, na'r hanner, ond y rhan leiaf o lawer wedi cael ei brynu trwy waed Crist, (oedd yn ddigonol i gynnifer,) yna, pa mor fawr yw yr ychwaneg, a'r gorddigonedd o haeddiant, sydd ynddo ef?"

Am yr wrthddadl y mae Flavel yn sylwi arni, yn nechreu yr ymadroddion uchod, un a luniwyd gan wr Sociniaidd ydyw; yr hwn oedd yn ddigon cyfrwys i weled, os yw Crist yn Dduw, *fod teilyngdod ei waith yn annherfynol*, ond yn anghyfrwys yn ei ddadl oddi ar hynny.

*Ym*. Yn lle eich attal â sylwadau, gadawaf i chwi fyned y'mlaen â'r profion, neu i ddangos y tystion sydd etto yn eich golwg.

*Hen*. Mi a gynnygiaf, yn nesaf, ychydig ymadroddion allan o Sylw-nodau, ar y Bibl, gan nifer o dduwinyddion a roddwyd ar y gwaith gan Gymanfa nodedig Westminster: a'r gwaith a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1645.

Ar *Math*. 20. 28. (*yn bridwerth dros lawer*) eu nodiad yw [gan olygu'r gair *llawer*, yn gyntaf, yn ei ystyr helaethaf] "Yn *ddigonol*, o ran ei deilyngdod a'i werth; er nad yn *effeithiol*, o ran y canlyniad a'r diwedd."——Ar 1 Cor. 7. 23. "*Er gwerth y'ch prynwyd*," eu nodiad yw, "Hynny yw, y'ch prynwyd yn ddrud, â gwerth sy'n fwy gwerthfawr nag y gellir ei brisio."—Ar 2 *Pedr* 2. 1. "*gan wadu'r Arglwydd, yr hwn a'u prynodd hwynt*," dechreu eu nodiad yw, "Efe a roddodd werth oedd yn *ddigonol*

*drostynt hwythau.*" Eu meddwl yw, fel y dywedwyd yn fynych, fod *digonolrwydd* yn aberth Crist, o ran ei werth hanfodol, tu hwnt i'w *effeithiolrwydd*, neu y cynnhwysiad o'i rinwedd at y rhai a achubir.

Yn nesaf, yr enwog *Mr. Pool.* Medd efe, ar 1 Tim. 2. 6. "Y mae'n rhaid i ni wahaniaethu rhwng *digonolrwydd* ei bridwerth a'r *effeithiolrwydd* o hono: y mae efe wedi talu gwerth *digonol* i gaffael iachawdwriaeth i bawb oll o ddynol-ryw:——os cyfrgollir dynion, *nid yw hynny o herwydd diffyg cyfiawnder yn y Cyfryngwr,* ond oddiwrth eu cariad hwy at eu chwantau," &c.

At hyn mi a roddaf dystiolaeth y dysgedig a'r duwiol Mathew Henry. Ar 1 *Tim.* 2. 6. y mae'n sylwi, "Efe [Crist] a dalodd bridwerth" [neu werth] "*digonol* er iachawdwriaeth *i bawb oll o ddynol-ryw;*"——(ac yn y blaen) "pridwerth dros bawb, hyd onid yw holl ddynol-ryw wedi eu rhoddi mewn cyflwr gwell nag y mae'r Diafliaid ynddo." (Fel tarddiad, megis mewn *eil-radd*, oddi wrth iawn Crist dros ei eglwys, y mae hyn yn bod.)——Ac, ar 2 *Pedr* 2. 1. medd yr un gwr, "Efe yw unig Iachawdwr a Phrynwr dynion, yr hwn a dalodd bridwerth *digonol i brynu cynnifer o fydoedd ag sydd o bechaduriaid yn y byd.*" Yr wyf yn gadael ar hyn yn bresennol, o ran tystiolaeth *Esponwyr ar y Bibl.*

*Ym.* A ddangoswch chwi ynte rai profion allan o waith duwinyddion ereill, sydd o blaid prynedigaeth neillduol?

*Hen.* Un o'r cyfryw oedd Mr. Boston, gwr enwog o Scotland; ac allan o'i Gorph o Dduwinyddiaeth cymmerwch yr ychydig sydd yn canlyn:—"Yr oedd y pridwerth yn *ddigonol* i brynu holl ddynol-ryw; ond yr etholedigion yn unig a brynwyd yn weithredol (*actually*;) iddynt hwy yn unig y bwriadwyd hynny." (*Vol.* II. P. 109.)

Yn nesaf, hyn allan o Gorph Duwinyddiaeth Mr. Watson:—"Nid yw gwaed Crist ddim yn glanhau oddiwrth y pechod yn erbyn yr Yspryd Glân;——Etto, *nid am nad oes rhinwedd ddigonol ynddo i olchi hwnw ymaith*; ond am na fyn y neb a bechodd y pechod hwnw ddim cael ei olchi: y mae yn dirmygu gwaed Crist, ac yn ei sathru tan draed." (*Vol.* I. P. 184.)

Drachefn, "Nid yw prynedigaeth ddim mor helaeth a chreadigaeth. Yr wyf yn addef fod *digonolrwydd* o haeddiant yn ngwaed Crist, *i achub pawb oll*: ond y mae gwahaniaeth rhwng digonolrwydd ac effeithiolrwydd. Mae gwaed Crist yn bridwerth *digonol*, dros bawb oll; ond yn *effeithiol*, yn unig i'r rhai a gredant." (*Vol.* I. P. 219.)

Yn nesaf, rhoddwn le i ychydig o ymadroddion y Dr. Herman Witsius, gwr o Holland, ysgrifenydd tra enwog, a thyst addas am farn amddiffynwyr prynedigaeth neillduol, yn y gwledydd tramor, ac yn Mrydain hefyd. Medd efe,

"Yr ydym ni gan hynny yn penderfynu, 1. Am ufudd-dod a dyoddefiadau Crist, o'u hy-

tyried *ynddynt eu hunain*, eu bod, ar gyfrif urddas annherfynol y Person, o'r cyfryw werth hyd onid oeddynt yn ddigonol i brynu nid yn unig bawb a phob dyn yn bersonol, ond llawer o fyrddiynau ychwaneg, pe buasai i Dduw a Christ weled yn dda fyned dan ymrwymiad, a rhoi boddloniad drostynt." (*Vol.* I. P. 348.)

*Ym.* Yr wyf yn gweled yr hyn a roisoch yn gorph cadarn o dystiolaeth gan wyr enwog: mi a welaf eu bod hefyd yn amddiffyn *prynedigaeth neillduol,* ac *annherfynol werth ufudddod Crist*, megis â'r un anadl, neu yn yr un ymadrodd.

*Hen.* Y maent felly; a buasai hynny i'w weled yn amlycach, pe buasai lle ac amser i ddangos eu hymadroddion yn fwy helaeth. Ond, yn nesaf ystyrier hyn o eiriau byrrion, sy gan *Eliseus Cole*, yn ei Draethawd ar Benarglwyddiaeth Duw.——" Pethau gwerthfawr rhagorol yw ffydd a sancteiddrwydd: etto gadewch i mi ddywedyd nad yw y rhai'n, a'r holl bethau daionus ereill, ond bychain iawn o'u cyffelybu i'r gras a'n gosododd yn Nghrist, yr anrhydedd a'r rhagorfraint o undeb âg ef, a'r *pridwerth a dalodd drosom.*" (tu dal. 118.)— Drachefn, "*Ni ellir chwanegu at yr hyn sydd yn anfeidrol.*" (tu dal. 122.) Golygu gwaith Prynedigaeth y mae'r awdwr yn yr ymadrodd. ——Yn nesaf, mi a'ch cyfeiriaf at rai o Atebion *Mr. John Brown*, yn ei Gatecism, neu gorph o Dduwinyddiaeth, a gyfieithwyd yn ddiweddar, ac a gyhoeddwyd yn Gymraeg gydâ derbyniad mawr——" Mae cyfiawnder Crist,

unig bridwerth iachawdwriaeth, ynddo ei hun mor ddigonol ac addas i bwrcasu iachawdwriaeth i bob dyn a'i gilydd. *Act.* 20. 28. *Math.* 18. 28."

" *Gof.* Pa fodd y mae'n *ddigonol* i bwrcasu iachawdwriaeth i bob dyn?—*At.* Mae ei *anfeidrol werth hanfodol* yn ei wnëyd yn ddigon o bris i bwrcasu iachawdwriaeth *i filoedd o fydoedd.*"

" *Gof.* Pa fodd y mae'n *addas* i bwrcasu iachawdwriaeth *i bob dyn?*

*At.* Mae'n gyfiawnder a gyflawnwyd *yn y natur ddynol*, yr hon sy'n gyffredin i bob dyn. *Heb.* 2. 14. a 2. 5." *(tu dal. 87.)*

Yn nesaf, mi a alwaf eich ystyriaeth at rai llinellau o Hymnau *Peraidd Ganiadydd Cymru*, y Parch. *W. Williams:* ac yr wyf yn cymmeryd ychydig, yn lle llawer o'r fath, allan o'i waith, yn un Llyfr cyfan, argraffedig yn y flwyddyn 1811.

" Iawn mwy o bwys na buasai 'nghŷd
" *Aneirif anwireddau'r byd;*
" A dim ond gwaed fy Iesu mawr,
" A droisai'r glorian hyd y llawr."
(Hymn 277. *tu dal.* 304)

" Pe buasai *fil o fydoedd* yn cael eu prynu y'nghŷd,
" A'r cyfryw bris, buasent yn llawer iawn rhy ddrud:"
(H. 341. *tu dal.* 374.)

" Pe b'ai ddengmil lawn o ddynion
" A'u heuogrwydd oll yn un,
" *Dengmil eilwaith faith o fydoedd;*
" Ffiaidd euog yn gytun:
" Yma cawn, un prydnawn;
" Aberth berffaith dâl y iawn." (H. 543. *tu dal.* 573.)

Nid yw hyn ond ychydig wrth yr hyn a ellid ei gasglu i'r un perwyl, allan o Hymnau y Duwinydd a'r Bardd duwiol hwn, sydd wedi cael derbyniad mawr yn Nghymru, ac a fyddant yn fuddiol ac yn felus i'w harfer, yr wy'n hyderu, tra byddo naws a bywyd gwir grefydd o fewn y Dalaeth.———Bellach awn at rai ymadroddion o eiddo yr hen dad parchedig, *Daniel Rowland*.

"Gallasai anobaith Judas fod yn fwy sarhâd a chamŵri yn erbyn Crist, nâ'i waith yn ei werthu ef; canys wrth ei werthu ni wnaeth ond dirmygu ei ddyndod; ond wrth anobeithio, fe edrychodd yn wael ac yn ddirmygus ar ei Dduwdod, gan ei farnu fel ef ei hun, heb allu nac ymysgaroedd i drugarhau: Gwir yw, nad allai efe drugarhau na maddeu iddo ei hun; ac fe farnodd nad allasai'r Arglwydd faddeu iddo chwaith; felly dyna "*osod terfyn i Sanct yr Israel.*" (*Salm* 78. 41.) Gwel yn Epistol Judas, *adn.* 11. "Gwae hwynt hwy, oblegid hwy a gerddasant *yn ffordd Cain:* Ei brif bechod a osodir allan yn *Gen.* 4. 13 "*mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu,*" St. Awstin a ddywedodd, *mentiris Caine, mentiris Caine!* ti ddywedi gelwydd, Cain, &c. *mwy yw trugaredd yr Arglwydd na phechodau yr holl fyd.*" Preg. *Rhad Ras*, ar Luc 23. 42.

Sylwad naturiol ar hyn yw, mai gwir, ac nid celwydd, a fuasai tyb anobeithiol Judas a Chain, pe ni buasai digon o fodd gan Dduw, trwy Grist a rhinwedd ei aberth, i faddeu eu holl bechodau hefyd, os *mwy yw trugaredd*

*Duw nâ phechodau yr holl fyd*, yna mwy hefyd yw teilyngdod aberth Crist; o herwydd ni ddichon trugaredd faddeuol fod yn Nuw tu hwnt i werth ei *iawn ef*; pe amgen hi a fyddai ynddo yn groes i'w gyfiawnder.

Drachefn, "Y mae'n *curo* trwy'r efengyl. Hon sydd yn gosod allan werthfawrogrwydd yr Arglwydd Iesu, a chyfoeth ei gariad, a *holl ddigonoldeb y prynedigaeth, a llifeiriant* gras maddeuol trwy ei waed ef." (*Preg*, Llais y Durtur, ar *Datg*. 3. 20.)

Am y geiriau *holl ddigonoldeb*, yr wyf yn meddwl mai yn *un* yr oeddynt gan yr awdwr (*holl-ddigonoldeb*) er eu hargraffu ar wahan. Yr wyf hefyd yn barnu y dichon aml un o wrandawyr yr hen dad enwog hwnw adgofio, fod *holl-ddigonedd* y Prynwr fel matter neu destun oedd yn fynych ac yn hoff iawn ganddo. —Ac, am ei bregeth (*Ionawr 20fed*, 1773) a fu mor fendithiol a chysurol i enaid *Mr. Charles*, y mae efe yn sylwi ar ei phrif fatter, a'i heffaith arno fel hyn: "Cefais y fath olwg ar Grist fel ein Harchoffeiriad, ar ei gariad, ei dosturi, ei allu, a'i *holl-ddigonedd*, ag a lanwodd fy enaid â syndod, ïe, â llawenydd annhaethadwy a gogoneddus." (Gwel *Hanes Bywyd* Mr. C. *tu dal*. 9.)

Bellach, yn olaf, ond *nid yn lleiaf*, o'r tystion am *holl-ddigonedd* y Prynwr, yr wyf megis yn galw y gwr rhagorol a enwyd yn olaf. Yn ei ysgrifenwaith ei hun, (sydd hyd yma heb ei argraffu) y mae gan Mr. Charles yr ymadroddion canlynol, mewn Llythyr at ei gyfaill:

"Y mae efe (Crist) wedi rhoddi y fath iawn am bechod, a'r fath foddlonrwydd i Gyfiawnder Duw, fel nas gallai deng-milwaith ddeng mil o uffernau byth ei gydraddu. *Pe byddem ni yn wasgedig gan euogrwydd cyfunol holl wrthryfelwyr melldigedig daear ac uffern, y mae teilyngdod annirnadwy yr aberth anfeidrol hwn yn ddigonol ynddo ei hun i symud y cwbl o hono.*"—Ychydig y'mlaen, medd efe, "Wele! y mae'r cyfiawnder a'r iachawdwriaeth a ddarparwyd i bechaduriaid *yn cyfateb yn mhob modd i anfeidroldeb Duw ei hun!*"——Drachefn, (dan y gair *Aberth* yn y *Geiriadur*, &c.) "Yr oedd y person â dwyfol fawredd, yn ganlynol, âg anfeidrol werth ynddo. Yr oedd yn ei berson ei hun yn anfeidrol fwy, a mwy ei werth, nâ'r holl bersonau a achubir, y'nghŷd. Nid rhan o hono oedd yr aberth; nid ei gorph, nid ei enaid yn unig, ond ei hunan, sef, *Crist Iesu yn ei berson yn gyflawn, yn Dduw ac yn ddyn*, a roddodd *ei hun* drosom ni, yn offrwm ac yn aberth i Dduw. Yn y golygiadau hyn, y mae gwerth yr aberth yn ymddangos yn anfeidrol tu hwnt i bob peth, a fedrwn ni ei feddwl. Nid oes ond deall anfeidrol a all amgyffred ei fawredd, a chyfrif ei werth. *Nid yw cymmaint o fydoedd ag a ddichon Duw eu gwneuthur, a'r rhei'ny wedi eu llenwi â'r creaduriaid mwyaf gogoneddus a ddichon efe eu gwneuthur, ond dim, a llai na dim, mewn cymhariaeth iddo.* Nis gellir dywedyd mwy am dano, nâ dywedyd, "iddo ymddangos unwaith

i ddilëu pechod *trwy ei aberthu ei hun.*" Heb. 9. 26.

Bellach, oddieithr i chwi ofyn ychwaneg, yr wyf fi yn gadael ar hyn; ond gan sylwi ar eiriau Mr. C. eu bod yn ymddangos i mi (o'u rhoddi at eu gilydd) yn dystiolaeth dra chyflawn ac eglur, a'r ymadroddiad yn ardderchog. Nid wyf yn cofio, nac yn meddwl, ddarfod i mi ddarllen dim erioed, mewn llyfrau dynol, yn fwy cymhwys, llawn-eglur, a gogoneddus, am anfeidroldeb a *hollddigonedd y Prynwr,* a'i waith.

*Ym.* Ni wnaf fi etto ond gofyn, a wyddoch chwi am ryw awdwyr, o beth enwogrwydd, yn gwrthwynebu y pwngc y darfu i chwi ddangos cynnifer yn ei amddiffyn?

*Hen.* Nis gwn am gymmaint ag *un*; er y gwn am ambell un, sydd, wrth amddiffyn prynedigaeth neillduol, yn myned megis heibio i'r matter hwn, heb ei amddiffyn, na'i wrthwynebu. Ond, yn mysg y rhai sy'n ei ddatgan a'i addef, mi a allaswn ddangos cryn nifer ychwaneg: (megis Hervey, Whitfield, Newton, o Lundain, ac ereill:) ac y mae'r Dr. Gill, yn ei waith nodedig, *The Cause of God and Truth,* yn dywedyd fel hyn wrth sylwi ar rai o eiriau Jerom, "Y maent yn adroddiad——am gariad Crist,——*a digonolrwydd gwerth ei waed i brynu'r holl fyd i gyd*; y cwbl o'r hyn yr ydym yn addef ei fod yn gytunol âg Ysgrythyrau'r gwirionedd." (*Vol.* II. P, 364.) ac o'r *tu dal.* 308. hyd 357, y mae ganddo yr un addefiad, o ran sylwedd,

*bedair waith* yn ychwaneg, wrth sylwi ar rai o eiriau Origen, Basil, Ambrose, a Chrysostom, sydd oll yn tueddu yr un ffordd.—Bellach, penderfynwn yn y farn a'r grêd hon, fod Crist mor anfeidrol yn ei Berson a'i waith, fel na chollir neb o eisiau digonolrwydd yn yr iawn a roddodd, *pan offrymodd efe ef ei hun.*

*Ym.* Yr Arglwydd a'n cynnysgaeddo â gwybodaeth effeithiol o'i wirionedd. Amen.

## YMDDYDDAN IV.

*Ar Brynedigaeth neillduol, a holl-ddigonedd Crist, neu werth anfeidrol ac annherfynol ei aberth.*

### *Ymofynydd.*

YR wyf yn chwennych cael un Ymddyddan ychwaneg â chwi, ar y pwngc tra phwysfawr o brynedigaeth pechaduriaid colledig trwy farwolaeth Mab Duw; hefyd am werth annherfynol y farwolaeth honno.

*Hen.* Adroddwch ynte, fy nghyfaill, yr hyn sydd etto ar eich meddyliau am y matter hwn, sy'n fawr iawn ei bwys, ac yn dra gwerthfawr i ni, droseddwyr yn erbyn y nef, ond i ni gael gwir ac uniawn grêd am dano, i'n heddychu, a'n sancteiddio, ac felly i'n cadw a'n gogoneddu byth.

*Ym.* Yr wyf gan hynny yn gofyn (ar ol i chwi roddi tystiolaethau aml ac amlwg, am

farn yr * Eglwysi Protestanaidd, a lliaws o'r awdwyr enwocaf) *Yn gyntaf*, A ellwch chwi ymhelaethu yn y ffordd honno, fel y byddo'r matter, trwy ychwaneg o dystion, o hynny yn fwy cadarn a safadwy? *Yn ail*, Mi a ofynaf gènych ymhelaethu ychydig at yr hyn a roisoch o'r blaen, *er prawf ysgrythyrol*: a hyn o herwydd na ddichon un pwngc mewn crefydd fod wedi ei sicrhau yn hollol, heb air Duw yn sylfaen amlwg a diogel iddo.—Yn y *trydydd* lle, yr wyf am osod o'ch blaen rai cwestiynau ereill.

*Hen*. Yn ateb i'ch gofyniad cyntaf, yr wyf, ar ol fy Ymddyddanion diweddar â chwi, wedi cyfarfod â chryn nifer o dystion enwog, am *neillduolrwydd Prynedigaeth*, ac sydd hefyd, y'nghyd â hynny, yn dwyn tystiolaeth o blaid *holl-ddigonedd* y Prynwr, neu *anfeidrol werth* ei aberth: Ac mi a bennodaf rai o honynt, etto heb fyned y'mhellach yn ol nag amser y Diwygiad Protestanaidd.

1. Yr enwog *Calvin* oedd yn *un* o'r Diwygwyr blaenaf. Ac wedi ei enwi ef, y mae'n gweddu i mi grybwyll, fy mod, yn y casgliad helaeth a gyhoeddais tan yr enw *Merthyrdraith*, &c. (sylw-nod, *tu dal.* 683, 684) wedi datgan fy meddwl am dano, ei fod yntau o'r golygiad yr wyf fi yn beio arno yn y Cyntaf o'r Ymddyddanion hyn, ac yn un o'r Sylwadau sydd ar ol: Yn ddiau y mae ei agoriad ar rai gwersi o'r Bibl yn rhoi lle i farnu felly; ac ni fedrais weled dim yn ei Egwyddor-lyfr (*Insti-*

* Gwel y rhai'n yn Ymddyddan III, o'i ddechreu i'w ddiwedd

*tutions*) yn rhoi sail i neb farnu yn amgen. Ond ar ol hynny yr wyf wedi cyfarfod â thystiolaeth gryn eglur, allan o waith Mr. John Brine (*Efficacy of the Death of Christ*, P. 142.—144) fod Calvin, cyn ei farw, wedi dyfod i amddiffyn yn fwy cywir, a chyson â'i egwyddorion ereill, yr athrawiaeth o brynedigaeth neillduol. Y mae Mr. Brine yn dwyn y dystiolaeth y'mlaen fel hyn:—"Yr wyf yn dal sylw, megis y gwna *Spanhemius* hefyd, mai nid rhyfedd yw, os bu iddo ef [Calvin] ysgrifenu yn llai gwyliadwrus ar y matter hwn, *cyn dechreuad y ddadl.*——Ac os oedd efe, wrth ysgrifenu y Sylwadau hynny——yn barnu *fod effaith marwolaeth Crist yn gyffredinol*, y mae yn amlwg ei fod, ar ol hynny, wedi newid yn ei olygiad ar y pwngc hwn, trwy chwilio y'mhellach iddo. Y mae ei Sylwad ar 1 *Iöan* 2. 2. yn brawf eglur o hyn; ac y mae hwnw fel y canlyn." [Geiriau Calvin yw y rhai nesaf]——"*Nid tros yr eiddom ni yn unig*, &c. Y mae Iöan yn chwanegu hyn er mwyn eglurhâd helaethach, fel y byddai sicrhâd llawn i gredinwyr, fod y cymmod a wnaed gan Grist yn cyrhaedd *at bawb oll o'r rhai a dderbyniant yr efengyl trwy ffydd.* Ond yma fe godir cwestiwn, pa fodd y mae efe yn *iawn dros bechodau yr holl fyd.*" Mi âf heibio i ffol-dybiau rhai gorphwyllog, a roddant, tan y ffug-esgus hwn, i'r rhai anghymmeradwy, ac felly i Satan hefyd, fod yn gyfranogion o iachawdwriaeth. Y mae y ddyfais anghenfilaidd hon yn annheilwng o wrthbrawf. Y mae rhai, a ewyllysiant ochel

yr anferthwch hwn, wedi dywedyd, Fod *digonolrwydd* yn nyoddefiadau Crist [i fod] dros y byd yn gyfan oll; ond, o ran *effeithiolrwydd*, [ei fod wedi dyoddef] *dros ei etholedigion yn unig*. Yn gyffredin, dyma'r eglurhâd sydd wedi cael lle yn yr Ysgolion. Minnau, *er fy mod yn addef hynny yn ddywediad cywir, nid wyf yn ei gyfrif fel iawn-ddehongliad ar y lle hwn.* O herwydd nid oedd yn mwriad Iöan ond gwirio *fod y budd hwn yn gyffredin i'r holl eglwys.* Gan hynny, tan y gair *oll* [neu, *yr holl fyd*] nid yw efe yn cynnwys y rhai anghymmeradwy; ond y mae'n golygu *y rhai crediniol oll, a'r rhai hynny fel yn wasgaredig yn amryw barthau y byd.* Canys yna yn wir y mae gras Crist yn cael ei gyhoeddi mewn modd dyladwy, pan ei pregethir fel unig iachawdwriaeth y byd."——Hyd hyn y mae geiriau Calvin, ar 1 *Iöan* 2. 2. Ac y maent yn deilwng o'n sylw neillduol; yn enwedigol, am eu bod yn brawf cryn eglur fod y Diwygiwr hwnw, *cyn diwedd ei oes*, wedi ystyried ac amddiffyn, yn fwy manwl a chywir nag o'r blaen, yr athrawiaeth o *brynedigaeth neillduol*, y'nghýd â *holl-ddigonedd* y Prynwr, a'r egwyddorion iachusol ereill a amddiffynesid ganddo. A gwelwn ei fod yma yn addef cywirdeb y farn am y *digonolrwydd* diderfyn sydd yn aberth ac iawn Crist.

2. Mi a bennodaf y Dr. Zecariah Ursinus, Proffeswr Duwinyddiaeth, yn Heidelberg, o fewn Brein-iarllaeth (*Palatinate*) y Rhine, yn, ac o ddeutu, y flwyddyn 1590. Yn ei Lyfr,

*Swm y Grefydd Grist'nogol*, (tu dal. 298, 299) y mae'n ystyried y matter, "Dros bwy y bu Crist farw, &c." Ar hyn y mae'n dangos cryn nifer o ymadroddion y Bibl, sy'n ymddangos i rai darllenwyr fel pe byddai anghysonedd ynddynt; megis, "Yr hwn a'i rhoddes ei hun yn bridwerth *dros bawb*, 1 Tim. 2. 6.—ond yn *Math.* 20. 28. ni a'i cawn "yn bridwerth *dros lawer*." Felly y mae'n dangos 1 *Iöan* 2. 2. *Iöan* 17. 9. a naw o ysgrythyrau ereill. Yna, fel dehongliad, i'w cysoni, y mae'n crybwyll, 1, Am y *digonedd diderfyn sydd yn y pridwerth*, ac, 2. Am *effeithiolrwydd* marwolaeth Crist *dros y rhai etholedig, a hwy yn unig*. Yna, medd efe, "Y rheswm am y cyntaf yw, am fod pridwerth Crist o'r fath bwys a gwerth, fel y mae ynddo addasrwydd a digonedd i buro a golchi ymaith holl bechodau pawb o ddynolryw, *pe byddai* ond i bawb o ddynol-ryw ddal gafael trwy ffydd yn y feddyginiaeth hon rhag pechod. O herwydd nis gellir dywedyd fod ynddi *ddiffyg digonedd* mewn un modd, rhag i'r *gwrthuni cableddus* hwn ganlyn (yr hyn na atto Duw) *Fod peth achos o ddinystr yr annuwiol yn bod trwy fyrdra o haeddiant yn y Cyfryngwr*."

3. Y Dr. Pareus (neu Dafydd Parry, Cymro o waedoliaeth) gwr o enwogrwydd neillduol, ac yn yr un Brif Ysgol, Heidelberg, o ddeutu yr un amser, 1590.——Yn y Llyfr sy'n cynnwys gwaith y ddau (Ursinus a Pareus) y mae'r olaf yntau, wrth ystyried mawredd a digonedd haeddiant Crist (*tu dal.* 808) yn dywedyd, "*Y*

*mae allan o bob dadl*, fod marwolaeth Mab Duw o'r fath werth, fel y mae ynddi *ddigonedd* i wnëyd iawn dros (*to expiate*) nid pechodau un byd yn unig, ond *miliynau o fydoedd, pe byddent yn bod, a chanddynt ffydd i gymhwyso y feddyginiaeth hon yn achos eu pechodau.* Ond, os gofynir, A fu Crist farw *dros bawb oll?* y mae'r cwestiwn yn golygu *yr effeithiolrwydd* a'r cyfranogiad o'r ffrwythau hyn: O herwydd y mae marw *dros* un arall yn gymhwys yr un peth a marw *yn lle* un arall, fel ag i ryddhau hwnw oddiwrth angau, a'i gadw yn fyw. Megis pan y llefodd Dafydd, tan ŵylo, *O na buaswn farw drosot ti, Absalom*; hynny yw, mi a ddymunwn fy mod wedi marw *yn dy le di*, fel y cawsit ti fyw. Ond yr ydym ni yn cwbl-wadu fod y cyfranogiad hwn o haeddiant Crist yn rhodd gyffredinol, i'r rhai oll sydd heb gredu, fel i'r rhai sydd yn credu: neu fod hyn wedi ei addo, na'i ddatgan yn yr efengyl. O herwydd, yn y golygiad hwn, yr ydym yn penderfynu, na ddarfu i Grist ddim marw mewn modd priodol, *dros bawb oll* [o ddynol-ryw] sef dros y rhai [a barhânt yn nifer y] digred ac anghymmeradwy."

4. Yr enwog J. Wollebius, o Basil, yn Switzerland, gwr oedd yn flodeuog ychydig ar ol y ddau olaf a enwyd, ac yn amddiffynydd cadarn, fel hwythau, i'r athrawiaeth iachus o brynedigaeth neillduol. Efe a ddywed fel hyn, "*Os edrychwn ar fawredd y teilyngdod sydd yn marwolaeth Crist, yr ydym yn addef ei fod mor fawr a'i fod yn ddigonol i brynu deg o fyd-*

7. Ond os golygwn ni *gynghor* [neu ar-

faeth] *Duw*, a bwriad Crist, nid gwir ydyw, fod Crist wedi marw *dros bawb oll*, neu *bob un o ddynol-ryw*." (Theol. Compend. p. 132. XXIII.)

Dyma bryuedigaeth neillduol, a holl-ddigonedd y Prynwr, etto yn dra annlwg efo eu gilydd. Ac yma daliwch sylw, fy mrawd, am yr eglwysi a'r awdwyr a bennodais o'r dechreuad, pa un bynag ai *y byd oll i gyd*, ai *deg*, ai *miloedd*, neu *filiynau* o fydoedd, fyddo yn yr ymadroddion arferedig ganddynt ar y matter hwn (sef wrth sôn am *ddigonolrwydd* aberth Crist) yr un yw y golygiad: a hynny yw, *fod ufudd-dod a dyoddefaint y Duw-ddyn o werth annherfynol*, er ei fod ef, o'i ras, ac yn ol cyfammod o ras, wedi *ei roddi ei hun dros ei eglwys*.

*Ymof*. Yr wyf yn ceisio dal sylw dwys a difrifol ar ymadroddion y gwŷr enwog yr ydych yn eu dangos. Ond, rhag i mi eich attal, a ewch chwi etto y'mlaen?

*Hen*. 5. *Y pummed* tyst a alwaf, yn bresennol, fydd y Parch. Francis Roberts, gwr enwog yn mysg y Puritaniaid, o ddeutu'r flwyddyn 1640. Yn ei Waith nodedig ar y Cyfammodau (*Book* 3. *Chap*. 1. *p*. 220.) y mae ganddo hyn; "Efe (Crist) a groeshoeliodd y groes, trwy gymmeryd ei groeshoelio ar y groes; efe a ddinystriodd farwolaeth, trwy farw; ac efe a gladdodd hyd yn nod y bedd, trwy fod yn gladdedig yn y bedd. Paham? Am iddo gael ei groeshoelio, marw, a chael ei gladdu, *fel Meichai holl-ddigonol dros bechaduriaid, yn lle ei etholedigion*."—

Yma etto, gwelwch y ddau bwngc y'nghŷd, mewn geiriau byrrion iawn. Ond, yn eglurach, medd efe (B. 4. Ch. 1. Aph. 2. P. 1245) "Y mae Crist yn Dduw, yn gystal ag yn ddyn: am hynny yr oedd urddas anfeidrol ei Berson yn gwneuthur ei aberth a'i waed ef i fod o wiwdeb a gwerth annherfynol, hyd onid yw yn cael ei gyfrif *megis gwaed Duw ei hun.* (Act. 20. 28) Yn y golygiad hwn, pe buasai holl ehediaid yr awyr, a holl fwystfilod y maes, wedi eu rhoddi yn un aberth, a'u gwaed oll y'nghŷd, ni buasai hyn oll ond megis dim, wrth yr aberth a'r gwaed hwn o eiddo Crist. Ië, *pe byddai i holl bobloedd y byd*, o Adda hyd ddydd y farn, *a holl angylion y nef*, ddyoddef marwolaeth *hyd byth*, etto nid yw hyn oll ond *megis dim*, wrth waith Crist yn dyoddef marwolaeth *dros amser*; am mai y *Duw anfeidrol* oedd Crist yn ei Berson, a hwythau ond *creaduriad meidrol.* Yn awr, rhwng Duw a'r creadur, *rhwng meidrol ac anfeidrol*, nid oes dim cymhariaeth."

Ar urddas a *digonolrwydd* Crist y mae'r ymadroddion uchod; ac ar *effeithiolrwydd* ei aberth, *dros ei eglwys yn unig*, y mae'r hyn sydd yn fuan ar eu hol, gan Mr. Roberts.

6. Y tyst nesaf fydd *Paul Baines* (oedd yn byw yn agos i ddyddiau Mr. R.) Medd efe (ar *Eph.* 5, 25.) "Ond hwy" (duwinyddion yr Almaen, Pabyddion, Arminiaid, &c.) "a wrthddadleuant, 1. Os yw yn wir, y câi y rhai a ddemnir eu hachub, pe credent yn Nghrist, yna efe a fu farw i'w hachub hwynt; o her-

wydd na ddichon efe achub ond y rhai y bu farw drostynt. Eithr yr ydych chwithau yn gwirio wrth y rhai anghymmeradwy, *os creduant*, yr achubir hwynt"

"*Ateb*, Y mae'r casgliad yn un gau; a'r rheswm yw hyn, sef, *Am fod digonedd yn ei farwolaeth ef i achub mil o fydoedd*, er nad oedd y fath beth yn ei fwriad. Y mae Duw yn bwriadu y bydd i'r haul roddi llesâd ei oleuni i'r rhai sy'n meddu llygaid, ac nid i neb yn ychwaneg: etto pe rhoddem le i'r tybygoliaeth (*supposition*) fod llygaid y deillion oll yn cael eu hagoryd, ïe, a rhifedi byd yn ychwaneg yn cael eu crëu a'u gosod ar y ddaear, rhoddai yr un haul oleuni iddynt oll. Ac felly, *pe byddai i fyd yn ychwaneg ddeillio o Adda, byddai ei gamwedd ef yn ddigon i'w condemnio hwythau hefyd.*"

Yma, yn lle sylwad, ni wnaf fi ond gofyn yn fyr, oddi ar *y ddwy linell olaf* o eiddo Mr. Baines. Pwy, o'r holl rai a addefant rym condemniol camwedd Adda, a fedr wadu, nac ammau, y casgliad tybygiaethol sydd yn y geiriau? Ac oni ddylem farnu mor helaeth, a dibetrus, am *ddigonedd yr ail Adda*? Dylem yn ddïammeu.

*Ym*. Y mae tybygoliaeth Mr. Baines yn un *newydd* i'm golygiad i, ac yn synwyrlawn hefyd. I'ch gofyniadau chwithau ni allaf fi ond ateb, Y mae'r casgliad yn wir addas ac anymchweladwy: Ac y mae'r "mwy o lawer" sydd yn yr ail Adda, (*Rhuf*. 5. 15) yn galw arnom oll i addef, heb betrusder, *ei holl-ddigonedd dwy-*

*fol ef*. Ond a ewch chwi y'mlaen, i benodi chwaneg o dystion, er ychwaneg o sicrhâd, neu yn hytrach, o eglurhâd, ar y matter hwn?

*Hen*. 7 Y 1esaf a enwaf yw'r awdwr da hwnw, Mr. S. Clarke: Yn ei Gasgliad nodedig o *Achosion Cydwybod* (Cases of Conscience, p. 282.) lle y mae'n datgan ei olygiadau ei hun, y'nghyd â golygiadau *corph duwinyddion* enwog ei oes, efe a ddywed fel hyn; "Yn *Drydydd*, Y mae'n rhaid gwahaniaethu rhwng y *digonolrwydd a'r gwerth hanfodol* sydd yn marwolaeth Crist, a'r *cymhwysiad effeithiol* o honi. Y mae marwolaeth Crist o werth *digonol* i brynu *deng mil* o fydoedd, am mai ufudd-dod hyd farwolaeth ydyw gan y Person hwnw sydd yn Dduw, yn gystal ag yn ddyn: ac, o herwydd ei Dduwdod, y mae'r fath deilyngdod a gwiwdeb boddlonawl (*satisfaction*) yn ei farwolaeth EF, hyd onid yw pechodau dynion a diafliaid heb fod yn ddigon i gydbwyso â hi. Etto, dyben a bwriad Crist ydoedd dodi ei einioes i lawr *yn unig dros ei ddefaid*, Ioan 10. 11."—Yma etto gwelwch brynedigaeth neillduol, a holl-ddigonedd y Prynwr, yn canlyn eu gilydd.

8. Yn nesaf, *Mr. John Bunyan* (oedd yn un o'r Bedyddwyr, ond gan broffesu cymundeb â phobl ereill hefyd) a gwr a gafodd ei gynnysgaeddu â gras, deall, a doniau efengylaidd, mewn gradd arbènig, er nad oedd ei radd mewn dysg ond bychan. Nid wyf yn medru gweled achos i feddwl y gwyddai efe am neb (*Bedyddwyr*, nac ereill) yn gosod *terfyn i werth aberth Crist*; pe buasai yn gwybod, anhawdd yw

meddwl y buasai yn petruso eu hamlygu? Etto, y mae megis wedi dygwydd taro wrth y *tyb*, a gosod nôd du iawn arno yn y modd canlynol.

Yn ei draethawd ar *Heb*. 7. 25. wrth sylwi ar y geiriau *cwbl-iachau*, &c. (yn ol y Saesoneg, *achub hyd yr eithaf*) efe a ddywed, "Nid hyd yr eithaf o'i allu ef, ond hyd yr eithaf o'n hanghen ni. O herwydd, *hyd yr eithaf o'i allu ef, yr wyf fi yn credu na roddir mo'no byth, wrth achub ei eglwys:* nid am fod yn anhawdd ganddo achub, ond am nad oes anghen iddo achub felly. Ni fydd dim eisiau iddo roddi ei *holl allu* ar waith, a dir-gymhell *yr eithaf o'i haeddiant*, tu ag at achub ei eglwys. O! y mae ynddo ddigonedd o haeddiant i achub y *mil cymmaint* ag sy'n debygol o gael eu hachub ganddo. *Efe a ddichon wneuthur yn dra rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl*: (Eph. 3. 20.) Gan hynnny na fesur yr hyn a ddichon efe, wrth yr hyn a wnaeth, yr hyn y mae yn ei wneuthur, na'r *hyn a wna efe*; ac na ddehongla y gair hwn (*hyd yr eithaf*) fel pe byddai yn perthyn *i'r eithaf o'i ddigonedd ef*, ond yn hyttrach fel y mae'n perthyn (canys felly y mae yn wir) *i'r eithaf o'th anghen di*. O herwydd efe a ddichon dy achub, er i'th gyflwr fod (fel y gellir llunio tybygiad am dano) y gwaethaf un y bu dyn a achubwyd erioed ynddo. Felly, efe a ddichon dy achub, *pe byddai* dy gyflwr ddengwaith gwaeth nag ydyw."

"Pa beth! Ai ni chaiff teilyngdod Mab

Duw fod yn ddigonol i achub oddiwrth bechod dyn? Neu, a gaiff pechod *y byd** fod o'r fath bwys i ddinystrio, fel ag i yrru Crist Iesu *hyd yr eithaf* o werth ei Berson a'i haeddiant, i achub oddi wrtho? Credu yr wyf fi mai *cabledd yw meddwl felly*. Y mae'n hawdd *i ni* ddychymygu [neu feddwl] y dichon efe achub *yr holl fyd*; hynny yw fod ganddo allu i wneuthur *cymmaint a hynny*. Ond nis gallwn ni gynnwys y meddwl, *y dichon efe "wneuthur y tu hwnt i'r hyn a allwn ni feddwl" am ei alluogrwydd*. Etto nid yw ein dychymyg a'n meddyliau ni ddim yn gallu cyrhaedd *yr eithaf o'i alluogrwydd ef*. EFE a ddichon wneuthur yn "*dra rhagorol tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl.*" Ond pa beth ydyw hynny, meddaf, ni ddichon un dyn ei feddwl na'i ddychymygu." (*Bunyan*, Vol. II. P. 185, 186)

Y mae'r ymadroddion uchod yn cynnwys ymresymiad neithiol, ysgrythyrol, a thra chysurol i bob pechadur argyhoeddedig, ar sail y geiriau nodedig yn *Eph.* 3. 20. ac hefyd ddatganiad cadarn a chroyw, mai *cabledd fyddai meddwl*, chwaethach dywedyd, fod Crist yn achub hyd yr eithaf o werth ei Berson a'i haeddiant (neu, hyd *eithaf cydbwys* â gwerth ei ufudd-dod a'i aberth) wrth achub ei eglwys, hynny yw, y rhai oll a brynwyd ganddo, neu y rhai y gwna efe eu hachub, yn ol eu gyfammod

---

* Sef *yr holl fyd* yn gyfan, fel mewn llinell islaw.

Fe, y'mhellach, mi a feddyliwn y gallai pob dyn dwys-ystyriol weled, fod, nid un, ond amryw gableddau yn canlyn y tyb y mae Bunyan yma wedi beio arno. Y mae'n ddychymyg sydd yn haeru, neu o duedd i haeru, fod *terfyn i werth aberth* y Prynwr;—*fod modd, neu foddion,* iddo fod yn *fwy* ei werth;—ac y buasai *raid* iddo fod yn *ddau cymmaint*, neu yn llawer mwy nâ hynny, yn ei werth, pe buasai iddo arfaethu a cyfammodi am i nifer ei brynedigion fod yn gyfattebol!!! Pa Gristion nid arswyda rhag y fath dybiaethau gwir gableddus? Mi obeithiaf hefyd, fod dangosiad digonol yn ein Hymddyddanion hyn (neu, o leiaf, y mae'r fath ddangosiad yn y Bibl, a chan lawer o awdwyr) nad yw y wir athrawiaeth am brynedigaeth neillduol yn galw am ddim o'r fath gynnorthwywyr geuol a gwrthun. *Non tali auxilio, non defensoribus istis, tempus eget.*

I'r achos hwn nid oes dim rhaid,
Am gyfryw gymhorth, na'r fath blaid.

9. Un o'r *Bedyddwyr* ydoedd y gwr nesaf hefyd, a alwaf fel tyst yn yr achos pwysfawr hwn, sef, *Mr. John Brine.* Yr oedd efe yn amddiffynwr nodedig i'r athrawiaeth o brynedigaeth neillduol; ac allan o'i Lyfr, ar *Effeithiolrwydd marwolaeth Crist,* cymmerwch yr ychydig a ganlyn:—" Yr oedd haeddiant *anfherfynol* yn perthyn i ddyoddefiadau Crist. Y mae gwaed ein Prynwr, mewn gwerth a gwiwdeb, *yn cyfatteb i fawredd ei Berson.* Yn awr, Y mae efe *yn ddysgleirdeb gogoniant ei Dad, ac yn wir lun ei Berson ef;* (Heb. 1. 3.) ac am hynny nid yw

yn lleihâd nac yn iseliad ar anrhydedd y Tad, iddo ei gyfrif ef *yn ogyfuwch*; (Phil. 2. 6.) yn ganlynol, y mae efe yn Berson anfeidrol fawr a gogoneddus. Ac os addefir fod yn ei ddyoddefiadau ryw werth tu hwnt i ddyoddefiadau creadur unig, yna, *os mynnwn fod yn gyson*, a chodi ein rhesymiad i'w radd addas, fel y mae yn hollol reidiol yma, y mae'n rhaid i ni addef hyn; megis y mae ynddynt ryw deilyngdod mwy nag yn nyoddefiadau creadur unig, a hynny *ar gyfrif ei Dduwdod*, felly y mae ynddynt ychwaneg a mwy i *annherfynolrwydd*." (Part 1st. P. 31.)—Ychydig y'mlaen (P. 36.) y mae ganddo hyn; "Gan i bechod gael ei gospi yn y fath wrthddrych ag yw Crist, cafodd ei roddi ar-un sydd o urddas *annherfynol*; yr hwn yr oedd ei ddyoddefiadau, am hynny, *o werth annherfynol*; ac, yn ganlynol, nid oedd yn *rheidiol* iddynt fod yn *ddi-ddiwedd* mewn parhâd, am eu bod yn *anfeidrol* mewn gwerth."—Drachefn, medd efe (Part III. P. 187.) "Y buasai dyoddefiadau Crist yn *ddigonol* er iachawdwriaeth i bawb oll o ddynol ryw, *pe buasai* Duw wedi ei appwyntio ef yn Iachawdwr pawb oll, a *phe buasai* pechodau holl ddynolryw wedi eu cyfrif iddo, a *phe buasai* efe wedi marw dros, ac yn lle, pawb oll o ddynion; *y mae hyn oll yn cael ei addef yn rhwydd, o herwydd bri annherfynol ei Berson ef.*"—Tra eglur a chadarn yn wir!

10. Am ddegfed tyst, yr wyf yn troi yn ol oddiwrth *Mr. Brine*, (oedd yn byw yn y ganrif ddiweddaf) at *Mr. Gurnal*, oedd wedi di-

weddu ei oes lawer blwyddyn o'i flaen, ac yn Weinidog tra defnyddiol yn Eglwys Loegr. Y mae'r awdwr enwog hwn hefyd yn adnabyddus i filoedd yn Nghymru, trwy yr *Argraffiad cyntaf* o'i Waith, yn Gymraeg: ac y mae ail Argraffiad wedi cael cryn alwad am dani. Yn Rhan II. (*tu ddilen.* 341.) ar ol dangos llwyr annigonolrwydd yr holl aberthau cysgodol, i fod yn iawn am bechod, y mae'n chwanegu; " Eithr yn yr Efengyl, wele, newyddion gorfoleddus a ddygir i glustiau y pechadur, am ffynnon o Waed wedi ei hagoryd yno; yr hon, o ran ei gwerthfawrogrwydd, *sydd gymmaint uwchlaw y pris y mae cyfiawnder dwyfol yn ei ofyn am bechod dyn, ag ydoedd gwaed teirw ac anifeiliaid islaw iddo*: a hwnw yw gwaed Iesu Grist."——Y mae hyn yn wirionedd gogoneddus ac amlwg, o herwydd Duwdod y Person a roddodd ei waed, neu " a'i rhoddodd ei hun:" tra y mae yn wirionedd sicr hefyd, na buasai gwaed *llai ei werth* ddim yn ddigonol i olchi ymaith un pechod. Bendithier Duw, ïe, fe a'i bendithir byth, mewn gwresogrwydd perffaith, am dywalltiad a thaenelliad gwaed Iesu Grist.

11. Y nesaf fydd y Dr. Ridgeley. Yn ei Gorph o Dduwinyddiaeth (*tu dal.* 264. *Dosp.* 6.) efe a ddywed fel hyn; " *Y mae'n beth a addefir o'r ddau du*" [sef, gan y Calfiniaid a'r Arminiaid hefyd, ïe] " *gan bawb oll o'r rhai a addefant Dduwdod ac Iawn Crist*, fod ei angau ef yn ddigonol i brynu yr holl fyd i gyd, *pe buasai* Duw wedi bwriadu iddo fod yn bridwerth

drostynt: Y mae hyn yn deillio *oddiwrth ei werth annherfynol.*"

Nid yw fy nghydnabyddiaeth etto ond bychan, â Gwaith y gwr hwn; mynegwyd im' hefyd, ei fod, fel llawer o wŷr da ereill, yn tueddu at y golygiad yr wyf fi yn beio arno yn ein Hymddyddan Cyntaf. Ond os gwir hynny, y mae yn haeddu gwrandawiad, fel tyst addas a chyfarwydd: ac y mae ei eiriau yn dystiolaeth, na wyddai efe am neb, *heblaw gwadwyr Duwdod Crist, yn naccau, nac yn petruso addef annherfynol werth ei iawn, neu ei waed.* Pell fyddom oddiwrth groes-dybiau y cyfryw. Ond os oes neb rhai ereill o farn groes, y maent yn ddïau yn anghyson â'u hegwyddorion eu hunain, etto heb weled hynny, gallwn feddwl. Rhag gormod meithder mi a âf heibio i'r Dr. Manton, a llawer o wŷr enwog ereill.

12. Yn nesaf, yr wyf am ddangos gofyniad byr, gan *Syr Richard Hill*, yn ddiweddar o Sir y Mwythig. Mewn Traethawd yn erbyn Arminiaeth, y mae'n gofyn fel hyn; "A pha le y cafwyd *Calfinist* erioed, a wadodd holl-ddigonedd aberth Crist, i olchi ymaith euogrwydd, nid un byd yn unig, ond *mil o fydoedd, pe buasai* Duw wedi ewyllysio ac arfaethu felly?" (*Logica Wes.* Note, P. 55)—Y mae hyn yn arwydd na wyddai y gwr boneddig hwn chwaith, am *un* awdwr na phroffeswr Calfinaidd, yn euog o'r anghysonedd gwrthun ac anferth y mae'n crybwyll am dano.

13. Cymmerwch hyn allan o waith Mr. Cerle, gwr boneddig duwiol, ac ysgrifenydd

da, a fu farw yn ddiweddar. Yn ei Lyfr (*Horæ Solitariæ*, P. 224, 225) y mae efe, ar ol dywedyd llawer o blaid prynedigaeth neillduol, yn dyfod at eiriau sydd yn ngweddi olaf Crist gydâ'i ddysgyblion; (*Ioan* 17. 9.) "Drostynt hwy yr wyf fi yn gweddïo: nid dros y byd yr wyf fi yn gweddïo, ond *dros y rhai a roddaist i mi*; canys eiddot ti ydynt:" Ac yna y mae Mr. S. yn fuan yn chwanegu, "Nid yw hyn yn cael ei ddywedyd, *i osod terfyn i werth annherfynol gwaith Crist fel Prynwr*: o herwydd *pe buddai deng mil o fydoedd o bechaduriaid, a phe gwel'sai efe yn dda*, yn ei ddoethineb a'i ben-arglwyddiaeth, estyn cymmwynasau ei iachawdwriaeth iddynt, *yn ddi-ammau*, gan mai Efe yw y Jehofa anfeidrol, *y mae teilyngdod digonol* yn ei waed a'i gyfiawnder i fod er pryniad iddynt oll. Ond y mae'r cyfammod o ras *wedi ei luniaethu yn hollol ac yn sicr*, ac o'r dechreuad wedi ei fwriadu i gynnwys yn ei rwymau etifeddion iachawdwriaeth, *a hwy yn unig*."

14. Allan o Nodiadau Eglurhäol yr Is-ellmyn (*Dutch Annotators*) cymmerwch hyn (ar *Heb*. 10. 14. "Canys âg un offrwm &c.) "Yma ni a gawn ddarluniad pennodol o'r rhai a berffeithir trwy aberth Crist: o herwydd, *er fod ei aberth ef ynddo ei hun yn ddigonol dros bawb oll o ddynol-ryw*, etto er hyn nid ydyw yn perffeithio neb ond y rhai a sancteiddir ganddo."

Ar Gen. 22. 13. meddant, "Yr oedd yn offrymiad *dynoliaeth Crist werth a rhinwedd*

ei *Dduwdod*, o herwydd y berthynas agos rhwng y naill a'r llall, er nad oedd modd i hwn" [ei Dduwdod] "gael ei aberthu."

15. Yn nesaf, yr wyf yn chwennych dangos ychydig yn ychwaneg o ymadroddion y diweddar Mr. J. Brown, at y rhai a bennodais o'r blaen, yn ein trydydd Ymddyddan. Yn ei Lyfr *Ar Grefydd Naturiol a Datguddiedig*, (sy'n llawer helaethach nâ'i Gatecism, a gyhoeddwyd yn Gymraeg) y mae ganddo hyn: "Y mae ufudd-dod a dyoddefiadau Crist yn iawn (*satisfaction*) mor gyflawn i holl ofynion cyfraith a chyfiawnder Duw, *fel nas gellir chwanegu dim ato.* Y cyfryw ydyw *anfeidrol urddas* Person Crist, hyd onid yw ei gyflawniad EF o'r gyfraith dorredig yn *ddigonol* i gydbwyso â dyled yr holl etholedigion, ie, *â dyled miliynau o fydoedd euog.*" (*tu dal.* 287.)

Yr Ysgrythyrau a bennodir ganddo, er prawf, yw y rhai'n; *Col.* 2. 9. *Esay* 7. 14. a 9. 6 *Jer.* 23. 6. *Zec.* 13. 7. *Titus* 2. 13, 14. *Act.* 20. 28. Ac yn ddïau y maent yn brawf addas a digonol, er fod yn hawdd chwanegu llawer iawn.

Drachefn medd efe (yn *tudal.* 299) "Mewn golygiad ar ei *werth hanfodol*, fel ufudd-dod a dyoddefiadau Person Dwyfol, y mae iawn Crist yn *ddigonol* er pryniad i bawb oll o ddynol-ryw; a, chan ei fod wedi ei gyflawni *mewn natur ddynol*, y mae'n addas at eu hanghenion hwynt oll fel eu gilydd. Ond, mewn golygiad ar ei fwriad ef a'i Dad, fe'i talwyd, ac a'i derbyniwyd, *yn lle y rhai etholedig*, ac i ynnill

eu dedwyddwch tragywyddol hwynt.—Y mae Crist wedi marw *dros y rhai hynny yn unig*, y cymmerodd efe eu hachos arno, fel MEICHAI, yn y cyfammod gras."

Yma etto gwelwch *werth annherfynol Iawn Crist*, a *phrynedigaeth neillduol*, yn llwyr weddus, efo'u gilydd.

16. Yn olaf etto yr wyf yn pennodi y diweddar Mr. Charles, gan ddangos rhai o'i ymadroddion yntau, yn ychwaneg at yr amryw a nodais o'r blaen, (yn *Ymdd.* III.)—"Mae y saint yn y nef, a'r credinwyr ar y ddaear, yn gwybod ei fod ef yn Iachawdwr digonol iddynt hwy: ac y mae hynny yn beth mawr i'w ddywedyd: *Ond y mae'r hyn a wyddant hwy am dano yn syrthio yn fyr i anfeidroldeb o'r hyn ydyw efe!* Yr Apostol a ddywed, *y dichon efe wneuthur yn dra rhagorol tu hwnt i bob peth yr ydym ni yn eu dymuno, neu yn eu meddwl.** (Eph. 3. 20.) Y meddwl dwyfol yn unig a ddichon amgyffred y natur ddwyfol."—Drachefn, medd efe, "Y mae cyfiawnder Duw *yn fwy boddlawn i anfeidroldeb yr iawn a wnaeth Crist am bechod, nag yn ufudd-dod dynion ac angylion efo'u gilydd.*"——Ychydig y'mlaen y mae'n crybwyll am rinwedd "*ei iawn holl-ddigonol ef,*" ac yn chwanegu, "*Amgyffred gwerth annherfynol ei haeddiant ef nis gall angylion na dynion hyd dragywyddoldeb*: Ac, ar ol ychydig linellau, y mae'n dy-

* Ychydig yn ol, ni a gawsom Mr. John Bunyan yn deongli ac yn defnyddio yr adnod hon yn yr un modd.

cyminod a'u hymwared personol. Ystyriwn hefyd yr adnodau hyn, a'u cyffelyb, sy'n datgan *cyflawnder Crist*, ei allu annherfynol i achub, a dwyfol werth ei waed; *Eph.* 3. 19, 20. *Col.* 19. 1. a 2. 9. *Act.* 20. 28. a 28. 28. Gwelwn hefyd, y dywedir drachefn a thrachefn, ei fod *wedi ei berffeithio,——ei berffeithio trwy ddyoddefiadau,——a'i berffeithio yn dragywydd*; Luc 13. 32. *Heb.* 2. 10. a 5. 9. a 7. 28. a 10. 12. Wedi ystyried hyn i gyd, a all neb, yn enwedig o'r rhai a addefant ei Dduwdod, wadu nac ammau ei holl-ddigonedd, neu werth annherfynol ei aberth? Ac onid rhyfyg tra erchyll fyddai i neb lunio dyfais am fodd iddo fod *yn berffeithiach*, neu yn *aberth mwy ei werth*, trwy ymostyngiad, ufudd-dod, neu ddyoddefaint dwysach, rhagorach, neu fwy maith?

Gyd â hyn oll, ystyrier fod pob gwers o'r Bibl a fo'n datgan *galwad cyffredinol* i bechaduriaid (megis *Math.* 28. 19. *Marc* 16. 15. *Luc* 2. 10. *Ioan* 7. 37. *Col.* 1. 28. *Diar.* 8. 4. a 9. 4, 5. *Esay* 25. 6. a 45. 22. a 55. 1, 2, 6, 7. a llawer ereill) yn profi *holl-ddigonedd* y Gwaredwr: O herwydd, gan fod Duw yn ei air yn gwahodd *pawb oll* a'i clywont, neu a'i gwelont, ni a ddylem oddiwrth hynny wybod yn ddïogel, fod ganddo wledd a digonedd cyfatebol ynddi. Ac heb y gor-ddigonedd (neu y "gwala a'r gweddill") hwn o fara yn nhŷ ein Tad, oni fyddai gwahoddiad cyffredinol yn wahoddiad a galwad *heb sail iddo*, na *gwirionedd ynddo*? neu yn alwad i gredu yn *y peth nid yw*? Hyn nis gall Duw'r gwirionedd mo'i or-

chymyn. A pha fodd y bydd i ddynion gael, *yn gyfiawn*, eu condemnio am eu hanghred, a'u gwrthodiad o Grist (yn ol *Marc* 16. 16. *Ioan* 3. 18, 36. *Datg*. 21. 8, a llawer gwers. ychwaneg) onid oes ynddo *ddigonedd*, o'i ran ef, i fod yn Achubydd iddynt, tra y mae eu hanghrediniaeth a'u gelyniaeth hwynt yn eu cadw oddi wrtho?——Gadawaf ar hyn yn bresennol, fel tystiolaeth ysgrythyrol, ar y matter pwysfawr hwn.

*Ym*. A oes dim, fel casgliadau, neu sylwadau yn erbyn y tyb gwrthwyneb, yn ymgynnyg i'ch meddyliau yn bresennol?

*Hen*. Y mae'r tyb gwrthwynebus i holl-ddigonedd Crist yn ymddangos i mi fel un sy'n rhoi anair iddo, mewn *llawer golygiad*. 1. Nid ydyw, mewn modd addas, yn ei ddangos â gwerth ei Berson Dwyfol yn hanfodol yn, neu anwahanol oddiwrth, ei ufudd-dod a'i aberth: 2. Y mae yn ei ddangos fel offrymydd aberth, ac fel aberth neu iawn, a allasai fod *yn fwy* o ran ei werth a'i deilyngdod; ie, a hynny yn *llwyr reidiol i fod*, *pe buasai* ei eglwys, neu ei phechodau hi, yn fwy mewn nifer neu faint, o lawer, neu ynte o ychydig.——Y mae hyn yn groes hollol i fri dwyfol yr Aberthwr a'i aberth.—3. Y mae'n arwain dynion *i ddychymygu ffyrdd*, trwy ba rai y gallasai ufudd-dod ac aberth Crist fod *yn fwy* mewn gwerth a gwiwdeb; a hynny (oni ddychymygant am *Berson mwy)* trwy fod y Prynwr yn *dyoddef ychwaneg*, yn myned tan *dywalltiadau trymach* o ddigter dwyfol, neu ynte trwy ei fod

yn *hwy*, *tros amser meithach*, mewn ystâd ddyoddefus. Dychymygion arswydus, *sy'n gosod terfyn* (a hynny yn dra amlwg) i werth aberth ac iawn Crist!!—4. Nid yw y tyb yn dangos Duw a Christ fel gwahoddwr diffuant yn ngalwad-helaeth a chyffredinol ei air a'i efengyl.—5. Nid ydyw chwaith yn ei ddangos fel Barnydd cyfiawn ar y rhai a'i gwrthodant; pan y bydd iddo eu bwrw ymaith tan ei lid a'i ddigofaint: O herwydd, pa fodd y barna efe yn euog y rhai a glywsant am dano, ond "nis derbyniasant ef," oddieithr i hyn fod yn amlwg, sef, eu bod wedi gwrthod un oedd â *digonedd* ynddo at eu hachub hwynt? Ac, heb y digonedd hwn, pa fodd y gallasai y cynnyg o hono fod yn un *gwirioneddol*?

Am waith Duw Dad yn ethol ei bobl yn Nghrist, gwaith Crist yn eu prynu, a gwaith yr Yspryd yn eu galw yn effeithiol, &c. ac, yn fyr, gwaith Duw yn cyfiawnhau, yn sancteiddio, ac yn gogoneddu ei eglwys, y mae efe ei hun wedi datguddio a chyhoeddi, mai "o'i ras," ac "i ogoniant ei ras," y mae hyn oll yn bod. (*Eph*. 1. 3, 4, 5, 6, 7. *Rhuf*. 4. 16. a 9. 23. a 11. 5, 6)

Ac fel y mae efe wedi gadael ereill heb y bendithion hyn (*heb roddi* iddynt galon i'w derbyn, er ei fod, yn ei efengyl, yn rhoddi gwir gynnyg o honynt) y mae wedi amlygu, mai o'i fwriad cyfiawn a phen-arglwyddiaethol, y bu iddo arfaethu, ac y mae yn gweithredu, fel hyn, heb ei anurddo ei hun, heb fod yn awdwr pechod, na gwneuthur cam â neb. (proffeswyr crêd, na

Phaganiaid chwaith, *Rhuf.* 1. 20, &c.) er ei fod yn ewyllysio dangos ei ddigofaint." Nid oedd, ac nid yw efe, yn ddyledwr i neb. (*Rhuf.* 9. 14, 15, 21. 22, 23. 1 *Pedr* 2. 8. *Ioan* 6. 44. *Iago* 1. 18.) Dinystrio *ei hun* a wnaeth Adda, a phob un o'i hil naturiol; eithr yn Nuw yn unig y mae cymhorth ac ymwared, *Hosea* 13. 19.

Ond, yn fyr, y mae'r tyb am *aerfyn* i werth iawn Crist (neu nad oes ynddo ddigonedd i achub neb heblaw y rhai a achubir) yn taro ar unwaith yn erbyn mawredd ei Berson, a gwerth hanfodol ei ufudd-dod a'i aberth; hefyd, yn erbyn ei eirwiredd, fel gwahoddwr pechaduriaid i ddyfod ato, ac yn erbyn ei uniondeb fel barnydd a dialydd ar y rhai a'i gwrthodant. —Heblaw hyn oll, y mae'r *tyb newydd a dyeithr hwn* yn dangos ei wyrni, trwy fod yn *groes i farn Eglwys Duw, yn mhob oes, ac yn mhob gwlad.* Yr wyf yn cwbl-feddwl na amddiffynodd hi erioed y fath bwngc; ac mai anhawdd fyddai i un dyn ddangos ond ychydig o ryw fath o awdwyr, sy'n ceisio ei amddiffyn. Ond y mae'r ysgrifenwyr duwiol a da yn dra lliosog, sydd yn ddibetrus yn cyhoeddi, *fod gwerth gwir anfeidrol ac annherfynol yn aberth y Prynwr.* Yn, Etto mi a ofynaf, Beth os dywaid rhyw-un, ei fod yntau yn edrych ar farwolaeth Crist fel aberth ac iawn o werth *anfeidrol ac annherfynol*, ac yn ystyried mai rhaid ei fod felly, cyn y gallai fod yn iawn digonol dros *un pechadur*, a'i bechodau tra aml a mawrion; ond, er hyn i gyd, nad yw efe yn gallu barnu

fod ei *ddigonolrwydd* yn myned dros ben, neu tu hwnt i, ei *effeithiolrwydd?*

*Hen.* Wrth hyn, fe allai y dylem ystyried peth am y geiriau, *anfeidrol*, ac *annherfynol.* Y mae'r cyntaf yr un a phe dywedid *anfesurol*, *anfesuradwy*, neu *heb fesur arno*; a'r llall yn arwyddo bod *heb derfyn*, *heb ben draw*, neu *ddiwedd.* Gan hynny, y maent yn agos i'r un ystyr. Unwaith, tybygaf, y cawn y gair *annherfynol* yn y Bibl Cymraeg, sef yn *Heb.* 7. 16. ac y mae yno i'w ddeall yn ol ei ystyr cyflawn a helaethaf: ond yn y Bibl Saesoneg y mae'r gair *infinite* (sy'n cyfateb iddo) i'w gael bedair waith, sef yn *Nahum* 2. 9. a 3. 9. ac yn *Job* 22. 5, heblaw yn *Salm* 147. 5. Yn y Salm fe'i harferir yn ol ei ystyr eithaf a phènaf (ac *aneirif* ydyw yno yn ol y Cymraeg) ond yn y tri lle arall fe'i harferir mewn ystyr *mwy isel a chymmedrol.* Am y llall, *anfeidrol*, ni a'i cawn bedair waith yn ein cyfieithiad Cymraeg, (sef, yn 1 *Bren.* 7. 47. 2 *Cron.* 4. 18 a 20. 15. ac yn *Marc* 7. 37.) ond mewn ystyr *isel a therfynol* yn mhob un o'r lleoedd. Fe allai hefyd y buasai gair llai yn gystal yn nghyfieithad y pedwar lle, fel y gwelir yn y Bibl Saesoneg. Felly da fyddai i ni allu iawn-wahaniaethu yn hyn, ac, yn enwedigol, i olygu, ac arfer y cyfryw eiriau yn eu hystyr *uchaf a phènaf*, pan fo crybwylliad am y Duw mawr, a'i briodoliaethau, neu am Berson a gwaith y Prynwr, er ein bod yn eu cael mewn ystyr is, neu lai, pan sonir am wrth-ddrychau neu fatterion llai.

Os edrychwn am addysg gan ddynion call

ar enwog, at iawn-farnu yn hyn, ni a gawn weled fod amryw ysgrifenwyr Seis'nig yn arfer y gair *infinite*, annherfynol, mewn ystyr is na'i gynnwysiad mwyaf. Witsius, Goodwin, Gurnal, ac ereill, a ddywedant fod pechod yn ddrwg anfeidrol, neu annherfynol (*infinite evil*) ac y mae hyn yn wir, yn ol yr eglurhâd a roddant yn gyffredin, wrth eu bod yn datgan, ac yn dangos, fod pechod yn ddrwg sy dros ben ei fesur, a chael iawn a fo yn gydbwys âg ef, *gan ddyn nac angel.* Etto y maent yn dangos hefyd, nad yw pechod ddim yn ddrwg anfeidrol, fel y mae Personau a phrïodoliaethau y Duwdod yn anfeidrol, neu fawredd a bri y Prynwr a'i aberth.

Ar y matter hwn, mi a feddyliwn y gallem benderfynu fel hyn: Y mae pechod yn ddïau yn ddrwg anfeidrol yn y golygiadau hyn, sef, fel trosedd yn erbyn Duw anfeidrol, ac felly yn ddrwg na all dynion, nac angylion, byth wneuthur iawn, na bod yn iawn digonol, am dano. Hefyd, y mae hyn oll yn wir am y drwg sy mewn *un pechod:* a pha faint mwy a welem, pe medrem ystyried y drwg sy mewn myrdd-myrddiwn o bechodau, neu lawer mwy nâ hynny gan bob un o lawer myrdd-myrddiwn o bechaduriaid!! Gan hynny, pe byddai pechod yn ddrwg *anfeidrol, yn ol ystyr uchaf y gair,* pa beth ond gwae tragywyddol, yn anocheladwy, fyddai rhàn pob un o honom? Ond, bendigedig fyddo Duw, y mae genym y newydd da hwn, "Lle yr amlhaodd pechod, y *rhagor-amlhäodd gras.*" (Rhuf. 5. 20.) Ac

felly nid yw drwg pechod ddim yn anfeidrol, fel y mae iawn Crist, a'i ras, yn anfeidrol: a hyn, am fod "mwy o lawer" (*adn.* 15. 17.) megis o bwysau yn iawn yr ail Adda, "*yr Arglwydd o'r nef*," nag a allasai fod yn anferthwch y drwg deilliadol oddiwrth yr Adda cyntaf. Etto cofiwn mai i nifer *llai o lawer* nâ nifeiri hil Adda, y mae'r amlhâd mwy o lawer yn perthyn mewn modd effeithiol, yn ol arfaeth a chyfammod, a chyfiawniad gras Duw: A'r nifer hwnw (yn ol datguddiad gair Duw) yw y rhai oll a gredant, neu a ufuddhânt i'r efengyl. Y rhai'n yw ei eiddo, *a roddwyd iddo* gan y Tad; a'i brynedigion, y rhai *y rhoddodd efe ei hun drostynt*.

*Ym.* A oes etto i chwi achos i ymhelaethu, at fwy o eglurhâd, am ystyr pènaf ac uchaf y gair *anfeidrol*, a'r defnyddiad addas o hono?

*Hen.* Yn ein trydydd Ymddyddan, (*tu dal.* 67.) adroddwyd geiriau sy gan Eliseus Cole, ar brynedigaeth, "*Ni ellir chwanegu at yr hyn sydd yn anfeidrol.*" Dyma anfeidroldeb y Prynwr a'i äberth: yn yr un modd y cawn yno eiriau Mr. J. Brown, am "*anfeidrol werth hanfodol*" cyfiawnder Crist. Adgofiwch hefyd eiriau Mr. Charles (*tu dal.* 71) "Yr aberth *anfeidrol* hwn" &c. a'r "iachawdwriaeth yn cyfateb yn mhob modd i *anfeidroldeb Duw ei hun.*"—Y'mhellach, y mae gan Mr. C. (yn yr ail Lyfr o'r *Drysorfa*) sylwadau o eiddo *Cymro* (ef ei hun, fe allai) ar Amser a Thragywyddoldeb, ac ynddynt y mae'r geiriau, *meidrol* ac *anfeidrol*, yn cael eu hystyried. O honynt y mae yr hyn a

ganlyn:—"Y mae cyfatebolrwydd mwy rhwng y peth *lleiaf*, meidrol, a'r peth *mwyaf*, meidrol, nag y sydd rhwng y peth *mwyaf*, meidrol, â pheth anfeidrol:——o herwydd y mae'y meidrol lleiaf yn *rhan* o'r meidrol mwyaf; ond *nid yw y meidrol mwyaf yn un rhan o anfeidroldeb.*——Mewn perthynas i anfeidroldeb, nid yw y meidroldeb *lleiaf a mwyaf, ond yr un peth.*" (*Tu dal.* 352)

Tra addas yw hyn i gael ei gymhwyso, megis yno, at y tragywyddoldeb annhraethol ei bwys yr ydym oll yn brysio iddo: ac nid llai yw ei addasrwydd i gael ei le a'i gymhwysiad, wrth ystyried *anfeidroldeb iawn neu aberth Crist.* Ac oni chyfrifir iddo EF, *a'i waith gweithredol a ddyoddefol*, anfeidroldeb *yn ei ystyr mwyaf ac uchaf*, yr ydym dan anghenrheidrwydd anocheladwy o fod yn dywedyd, neu yn meddwl, yn *gableddus* am dano.

Os dadleuir, fod y gair, *anfeidrol*, i'w gael yn y Bibl Cymraeg mewn ystyr islaw ei ystyr uchaf, yr wyf yn ateb, Felly y mae *llawer iawn* o eiriau ereill, ïe, yn yr ieithoedd gwreiddiol: ac na fydded hyn o ryddid a arferodd Yspryd Duw, yn dramgwydd i neb o honom; ond gweddïwn, ac ymdrechwn trwy foddion addas, am gael ein dysgu, "fel y deallom yr ysgrythyrau." Ni phennodaf yma ond *tri gair*, allan o laweroedd, sef, *iachawdwriaeth, byth, tragywyddol.* Gall pob Cymro gael y rhai'n mewn ystyr terfynol (yn *Ecs.* 14. 13. 1 *Sam.* 19. 5. 2 *Sam.* 23. 10.—*Gen.* 13. 15. 1 *Bren.* 9. 3.—*Gen.* 17. 8. *Ecs.* 12. 14, 17. a llawer o

werai yn ychwaneg:) Etto, fel nad ydym ni yn arfer y *tri gair hyn*, yn gyffredin, ond mewn ystyr o'r uchaf, felly mi a feddyliwn y byddai yn dda, o leiaf, rhoi eglurhâd, os arferwn y llall, *anfeidrol*, mewn ystyr isel neu derfynol. Ac, er dim, na ddefnyddiwn mo'no ond yn ei ystyr *uchaf*, wrth sôn am *werth* aberth ac iawn Crist.

*Ym*. Pa beth a atebir, os dywaid ambell un etto, mai gormod yw dadleu yn gadarn, fod *digonedd* yn ngwerth aberth neu waed Crist, tu hwnt i amcan ei osodiad, sef, i bwrcasu ei eglwys; yr hon, am hynny, a elwir gan lawer yn *werth ei waed*?

*Hen*. Ateber iddo, fod ei ddadl yn ddi-sail; o herwydd fod *digonedd* Crist, o *anghenrheidrwydd*, yn cyfateb i fawredd anfeidrol y Duwdod, neu (yr hyn sy'r un peth, o ran sylwedd) *i fawredd ac urddas Person Dwyfol*; ac mai matter arall yw ei *effeithiolrwydd*, yn achos, neu tu ag at, ei eglwys; a'r effeithiolrwydd hwnw yn derfynedig, yn ol arfaeth a chyfammod dwyfol; ac yn gyfunol â hyn y mae achubol weithrediad Yspryd Duw. Hefyd, cofier y gellir arfer yr ymadrodd (*gwerth ei waed ef*) mewn dau olygiad gwahanol: Ac felly, un peth yw yr arfaeth (o ras, a phen-arglwyddiaeth Duw) a osododd Grist yn Brynwr ac yn Achubydd i'w eglwys; a hon felly yn *werth ei waed*, yn ol cyfammod rhad, a phwrcas drud: Ond peth arall yw y *gwerth hanfodol, y gwerth anfeidrol a dwyfol*, sydd yn wir ...ilys yn ei ufudd-dod a'i waed EF! Gan hyn-

ny, nid oes dim anghysonedd, na sail i amheuaeth, yn y matter hwn, sef, fod *digonolrwydd* yn perthyn yn wirioneddol i waed Crist, tu hwnt i'w *effeithiolrwydd*, sydd yn rhodd, yn ol y cyfammod, i'r eglwys neu gredinwyr yn unig. Ac felly y mae hyn yn wirionedd dilys ac amlwg; Yn ol ei fawredd personol, a mawredd neu werth hanfodol ei ufudd-dod yn y cnawd, hyd angau'r groes, ni ddichon Crist byth gael *llawn werth ei waed*, pe byddai iddo gael nifer ei eglwys *ddeng-milwaith drosodd*, yn wobr am ei lafur; gan gymmaint yw y pellder diderfyn sy rhwng Person Dwyfol, ei ufudd-dod a'i iawn, a'r nifeiri mwyaf o greaduriaid, neu rhwng *meidroldeb* ac *anfeidroldeb*. Etto, am *werth ei waed*, yn ol ei gyfammodiad grasol, bydd iddo yn sicr ei gael, oll ac yn llawn: "*Ni adewir ewin yn ol;—ni chollir un;—y rhai a roddwyd iddo, efe a'u ceidw hwynt oll; o lafur ei enaid y gwel ac y diwellir ef.*" (*Ecs.* 10. 26. *Ioan* 10. 28, 29. a 17. 2, 9, &c. *Esay* 53. 10, 11.)

Yma, fe allai na fyddai yn anfuddiol i ni droi golwg ar waeledd pob iawn cysgodol, gan ddymuno golwg mwy ar fawredd yr Iawn gwirioneddol a sylweddol. Edrychwn ar y bustach ieuangc, dros gynnulleidfa Israel, (*Lef.* 4. 14.) y bwch dros bechod y bobl, (*Lef.* 9. 15. a 16. 15.) yr anner goch, (*Num.* 19.) y ddau oen, (*Num.* 28.) y ddau gyw colomen, (*Lef.* 12. 8.) a'r ddau aderyn y tô, (*Lef.* 14. 4.)—A phan y mae Duw yn galw am *iawn pennodol* gan bob un o feibion Israel, (*Ecs.*

30. 12, 15, &c.) lle nid oedd i'r cyfoethog roddi mwy, ac ni thalai i'r tlawd gynnyg llai, *hanner sicl* (llai nâ phymtheg ceiniog) oedd y pris, neu y pridwerth, a roddai pob un "dros ei einioes;" neu, "i wneuthur cymmod dros ei enaid." Ond, i brynu pob cyntaf-anedig, pum sicl oedd y pridwerth, (*Num.* 18. 16.) Felly, gwelwn yn y rhai'n, a'r un modd yn yr aberthau oll, mai *llai o lawer* oedd yr *iawn cysgodol*, nâ gwerth y rhai a brynid trwyddo; a *llai o lawer* oedd pwys y digter *a welid* yn nhywalltiad gwaed a llosgiad yr aberthau, nâ'r hyn yr oedd pechodau'r bobl yn ei haeddu. Ond, os edrychwn ar y gwirionedd a'r sylwedd, *mwy o lawer* yw gwerth einioes Crist, nâ gwerth eneidiau a chyrph ei brynedigion oll; ac felly *mwy o lawer* yw ete, fel *iawn dros eu pechodau*, nag a allai fod o ddrwg, neu o anfri ar Dduw a'i gyfraith, yn holl anferthwch dirfawr eu pechodau hwynt: a *mwy o lawer* ydoedd pwys y dïaledd y daeth y Meichai a'r Prynwr mawr oddi tano, nag y gallasai grym *miloedd o fydoedd* ei symud na'i oddef. "Pwy a edwyn nerth dy soriant?" (*Salm* 90. 11.) "Nid edwyn neb y Tad, ond y Mab." (*Math.* 11. 27.)

*Ym.* Mi a chwanegaf ofyn, Beth os anturia rhyw-un feddwl, a dywedyd, y gallasai Crist ddyoddef *pwysau trymach* o ddïaledd dwyfol nag a dywalltwyd arno; a *phe buasai* hynny wedi bod, y gallasai fod felly *chwanegiad* at bwys a gwerth ei farwolaeth, ei aberth, neu ei iawn; yn ganlynol, *pe buasai* efe wedi myned dan y *pwysau trymach* hynny, y buasai efe felly

wedi ei addasu i fod yn iawn dros *niferi mwy* o bechodau, ac o bechaduriaid?

*Hen.* Da yn wir a fyddai bod *pwysau trymach* o ofn a sobrwydd duwiol, y'nghŷd â deall da, yn enaid y dyn a fedrai feddwl a dywedyd yn ol ystyr y *rhan gyntaf* o'ch gofyniad. Pa beth! Ar ol i Fab Duw, y Person goruchel hwnw, mewn cnawd, neu yn ei enaid a'i gorph dynol, fod yn ing Gethsemane, a'i "chwŷs fel defnynnau gwaed yn disgyn i'r ddaear!"—ar ol tristâd ei enaid EF "hyd angau!"——Ar ol iddo erfyn, "Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio" &c.—Ar ol i angel o'r nef gael ei anfon "i'w nerthu ef" yn ei ymdrech a'i ing *dirfawr!—ar ol iddo lefain ar y groes, "Fy Nuw, fy Nuw, paham y'm gadewaist?"—ar ol iddo EF gael ei "wneuthur yn felldith" (*Gal.* 3. 13.) a threngi ar y pren melldigedig!—ac ar ol iddo ddisgyn i † uffern! hynny yw (yn ol dehongliad yr Yspryd Glân) "i barthau *isaf* y ddaear"! (*Eph.* 4. 8.)—ar ol i hyn i gyd, meddaf, ddisgyn ar y gwr sy'n "Gyfaill," ie, yn "anwyl

* Ystyried y rhai y mae cyfle ganddynt, yr hyn sy gan Mr. Charles, yn ei *Eiriadur Ysgrythyrol*, tan y gair Dirfawr.

† Y mae'r gair Hebraeg (*Sheol*), a gyfieithir *uffern* (yn fynych yn yr Hen Destament) yn arwyddo, ac yn amlwg yn golygu,—1. Y bedd;—2. Ystâd a chyflwr y meirw;—ac weithiau, 3. Lle a chyflwr truenus y rhai colledig; a'r un modd y gair Groeg (*hades*) yn y Testament Newydd; Ac, yn ganlynol, pan sonir am Grist wedi disgyn i *barthau isaf y ddaear*, ac i *uffern*, megis yn Salm 16. ac yn *Act.* 2. 27, 31. nid oes i ni er dim feddwl ond am ei ddisgyniad i ystâd y meirw, ac i'r bedd.—Gwel Eirlyfr *Mr. Charles*, tan y gair *Uffern*; Leigh's *Critica Sacra*, &c.

Fab" i'r Tad, a geir un, sydd yn credu gair Duw, a fedr ddychymygu am ffordd i ddynoliaeth Crist fyned tan *dywalltiadau trymach?* Mi a obeithiaf na feddyliodd y cyfryw ddyn, y gallai Jehofa Dad fwrw ymaith, neu ddamnio, ei anwyl Fab, nac y gallai Mab Duw, mewn cnawd, fyned i anobaith, ac i wae y rhai damnedig: Ond och! rhag hyfder a chryfder ei ddychymyg, fel y mae eich geiriau yn ei adrodd! Dymunaf i bob Cristion gael ei ddysgu i ddywedyd, "Dos yn fy ol i, Satan," pan ymgynnygio y fath ddychymygion geuol i'w feddwl.

Am y *rhan olaf* o'ch gofyniad, nis gwelaf ynddo ddim gwelliant, ond i'r gwrthwyneb, prawf eglurach o'r tyb cyfeiliornus a gresynus, am *derfyn*, ac felly am *estyniad terfyn*, i werth yr aberth sydd yn hollawl annherfynol ac anfeidrol! Cadwed Duw ni oll rhag y fath dybiau arswydus.

*Ym.* Etto gofynaf, Beth os dywaid, neu os gofyn un arall, *Pe buasai* i Grist fyw mewn ystâd ddyoddefus *am driugain mlynedd*, yn lle am yr yspaid byrrach a dreuliodd efe ar y ddaear, ai ni fuasai efe felly wedi ei addasu i fod yn *iawn dros nifer mwy*, ac yn Brynwr i nifer mwy, nag a brynwyd ganddo o ddynolryw?

*Hen.* Ni fedraf fi weled y gweddai un ateb i'r cyfryw, ond o'r un fath ag a roddwyd eisoes i'r un fath ddychymyg erchyll. Y mae'r naill fel y llall, yn dra amlwg yn gosod *terfyn i werth* ufudd-dod ac aberth Crist, tra y mae'r ddau yn gwahanu ychydig mewn dyfais am

*ddull neu ffordd i estyn ei derfyn;* un yn dewis *pwysau trymach,* a'r llall *amser meithach,* at wneuthur yr *iawn yn werthfawrocach,* neu, mewn geiriau ereill, i *chwanegu* at yr hyn "sy'n anfeidrol, fel y mae Duw yn anfeidrol"!!

Ni a ddylem ddwys-ystyried, nad yw'r Ysgrythyr, mewn un man, yn rhoddi i ni le i farnu, am ufudd-dod a dyoddefiadau y Prynwr, eu bod yn bridwerth cymmeradwy, hyd *ryw radd,* neu yn haeddiannol *yn ol rhyw raddau,* yn mhwys, meithder, amlder, neu amrywiaeth y dyoddefiadau yr aeth danynt; er ein bod yn cael adroddiad syml am yr amgylchiadau hyn. Ond yr ydym yn cael y swm anfeidrol, neu y gwaith anfeidrol ei werth, yn gryno o'n blaen, yn yr ymadroddion hyn, a'r cyffelyb,—"*ufudd-dod un,—cyfiawnder un,—iachawdwriaeth gym-*"*maint,—gosod ei enaid yn aberth,—rhoddi* "neu *aberthu ei hun,—rhoddi ei fywyd,—ei* "*einioes,—ei waed,—marw,—bod yn ufudd* "*hyd angau, ie, angau'r groes,—dyoddef yn y* "*cnawd,—cael ei wneuthur yn felldith,*" &c. &c. Mewn modd eglur a chryno, fel hyn, y mae Yspryd Duw yn ymadroddi am anfeidroldeb yr hyn a gyflawnodd Mab Duw, tros ei *bobl oll,* a thros *bob un* o honynt. (*Eph.* 5. 25. *Gal.* 2. 20.)

*Ym.* Gwrandewch etto hyn: Fe allai y dywaid, neu y dywedodd, ambell un, fod bai go drwm yn y geiriau tybiaethol, "*Pe buasai,*" neu "*Pe byddai,*" a ddarfu i chwi eu harfer yn ein *Trydydd Ymddyddan,* neu, yn hytrach, a ddarfu i chwi ddangos fod y Dr. Owen, Wi-

sius, Charles, Williams, ac ereill, wedi eu harfer: Ac yr ydych wedi dangos cryn nifer o'r cyfryw ymadroddion yn ein Hymddyddan presennol,

*Hen.* Ac fe allai fod yr *un gwŷr* (yn ol cynnwysiad eich *dau ofyniad olaf*) wedi defnyddio yr un "*Pe buasai,*" tu ag at egluro ac arddangos eu tyb gau, am *derfynolrwydd i werth* dyoddefaint Crist, ac am ffordd, neu ffyrdd, i *chwanegu ato.* Y mae hyn yn drwm yn wir: A braidd na ddywedwn, gyd â'r prophwyd galarus, "O, na bâi fy mhen yn ddyfroedd," a, "Gwae fi, fy mam, ymddwyn o honot fi, yn wr ymryson," &c. Etto, rhag gwae trymach, y mae anghenraid arnaf i geisio ymdrechu, at yrru y blaidd, neu y gau dyb hwn, allan o gorlan Crist. Efe ei hun a wnelo yr hyn ni allaf fi.

Ond, am yr achwyniad yn erbyn y "*Pe buasai,*" gair y mae lliaws o awdwyr enwog ac iachus wedi ei arfer, at egluro eu meddyliau am *werth annherfynol* iawn Crist, yr wyf yn addef (fel y dywedodd un gwr da a deallus, yn Nghymru) "Nad yw y fath air yn *brawf* am un pwngc neu fatter; a, bod addefiad o *werth annherfynol* aberth Crist, *yn fwy,* nâ phed addefem, ei fod yn ddigon dros *fil o fydoedd, pe buasai* Duw wedi eu creu, a bwriadu eu hachub." Hefyd, yn yr ystyriaeth o hyn (tan gyfiawnhau y gwŷr enwog a arferasant yr ymresymiad tybiaethol hwn, yn unig *er eglurhâd*) mi a fyddwn yn foddlawn a llawen, ond ... *werth annherfynol* y Prynawr a'i waith

gael ei addef hebddo, gan bawb oll o honom, *mewn rhyw ymadroddion diamheuol ac eglur.* Etto crybwyllaf, fod yr Yspryd Glan (sydd yn Awdwr llwyr-ddifai) wedi arfer y cyfryw ymresymiadau tybiaethol, yn fynych, at ddangos pethau a allent, neu a allasent fod, *o ran trefn naturiaeth*, er nad ydynt i fod *o ran trefniad rhagluniaeth*; ac nad yw y cysyllt-air, *pe*, ond yr un peth ag *if* yn Saesoneg. Ystyrier yr adnodau hyn, a llawer o'r cyffelyb; *Gen.* 43. 10. *Num.* 22. 33. *Jer.* 13. 22. a 15. 1. *Ezec.* 14. 14, 16. *Math.* 11. 21, 23. a 17. 20. *Luc.* 19. 42 *Gal.* 3. 21. 1 *Ioan* 2. 19. &c. &c. Felly, mi a dybygwn na ddichon yr wrthddadl wael hon (yn erbyn y *Pe buasai*) brofi dim ond ei *hansylweddolrwydd* ei hun, neu ynte, peth sy'n *waeth o lawer*, tuedd i wadu, neu ammau, gwir anfeidroldeb aberth ac iawn Crist.

*Ym.* Gofynaf y'mhellach, A ydych chwi yn meddwl, mai o'r un fath natur bechadurus fyddai ein meddyliau am i Grist roddi aberth neu iawn mwy, *o ran ei werth ynddo ei hun*, ag a fyddai ein tybiau, pe dychymygem am fodd, ffordd, neu ffyrdd, i Jehofah fod *yn Dduw mwy nag ydyw?*—ac mai o'r un fath natur y mae'r tyb am y *chwanegiad lleiaf*, ag a fyddai dychymyg am y *chwanegiad mwyaf*, at werth ufudd-dod a marwolaeth Crist?

*Hen.* Yr un fath yn ddïau. Ac yma fe allai mai nid anaddas nac anfuddiol fydd i ni ddal sylw fel hyn: Chwi a wyddoch fod *mawredd hanfodol* y Jehofa, neu ei ogoniant, a'i berffeithrwydd *ynddo ei hun* yn gyfryw, fel na

byddai ond cabledd i ni feddwl fod modd, hyd yn nod ganddo ef ei hun, i wneuthur ei hun yn fwy nag ydyw. Mi a feddyliwn y bydd hyn mor wybyddus ac amlwg, fel nad oes achos i'w brofi na'i egluro. Matter arall yw yr hyn a elwir ei *ogoniant mynegol*; am yr hyn y gwnaf grybwylliad yn fuan. Pe byddai modd i chwanegiad fod at ei fawredd, neu ei berffeithrwydd *hanfodol*, nid Duw a fyddai efe. Yn yr un modd y dylem feddwl am bob un o'r Tri Pherson Dwyfol. Ac yn gyfatebol i hyn y dylem feddwl am Grist, "yn ei Berson* yn gyflawn, yn Dduw ac yn ddyn," yn ei roddi a'i *aberthu ei hun*; neu, mewn geiriau ereill, yn rhoddi bri ac urddas ei Dduwdod, i fawrhau neu anfeidroli gwerth ei ufudddod a'i ddyoddefiadau yn y cnawd. Heb ei Dduwdod, ni buasai modd i'w ddynoliaeth bur a pherffaith roddi iawn, na bod yn iawn, dros un pechadur, na thros un pechod. Ond trwy ei Dduwdod, a'i ufudd-dod yn ein natur, y mae efe yn aberth ac yn iawn sydd o werth dwyfol. A phe byddai modd i chwanegiad fod at werth ei aberth, ni byddai y gwerth sydd ynddo ddim yn ddwyfol, nac yn wir anfeidrol. Ond gan ei fod yn gyfryw, y mae'n eglur na ddichon pob rhyw dyb am fodd, neu ffyrdd, i chwanegu at ei werth, fod yn ddim amgen nâ hyn, *dyfais dyn am lunio chwanegiad at anfeidroldeb dwyfol!!* Ac onid yw hon yn ddyfais ynfyd a gwir gableddus?

---

* Geiriau Mr. Charles, yn ei Eiriadur &c. dan y gair Aberth.

A phe byddai yn gyfreithlawn i'r fath dyb neu ddyfais gychwyn i lunio'r dim *lleiaf* o chwanegiad at werth aberth ac iawn Crist, fe fyddai yr un fath gyfreithlondeb i ddychymygu moddion i'w wneuthur, neu i lunio rhyw-beth yn ei le, i fod yn *ddau* neu *ddeg cymmaint*, neu yn *ddeg can-mil cymmaint*, yn ei werth a'i wiwdeb!! Er fod hyn yn hyll ac anferth dros ben, etto y mae'n perthyn i wir natur y tyb, neu y pwngc; ac nid ydyw o ddim *yn waeth, na gwell*, yn ei anferthwch pellaf, nag yn ei gychwyniad lleiaf. Am hynny, na chaed y fath fwystfil gychwyn allan o'r ffau sy'n addas iddo.

Cofiwn hefyd, y dylem fod yn ddilynwyr athrawiaeth dda, ac esiamplau da, Eglwys Crist, o oes i oes: ac yr oedd hi nid yn unig yn eiddigus ac ymdrechgar yn erbyn pob "athrawiaethau amryw a dyeithr," ond felly *yn fwy enwedigol*, pan y byddai un math, neu radd, o gau dyb am Berson Crist, neu o anfri arno (neu ar un o'r Personau Dwyfol) yn ymgynnyg am le a derbyniad o'i mewn. Ac yn ddiau y mae'r *tyb newydd hwn* yn bwrw anfri ar Grist, yn amlwg ac yn drwm iawn. Yn wir, nid anfri ar y dyn goreu fyddai dywedyd, Efe a wnaeth ei orchwyl *yn dda*; ond yr oedd lle iddo ei wneuthur *yn well*: Eithr na atto Duw i ni ddywedyd, na meddwl, felly am y Duw-ddyn.

*Ym.* Bellach, fy nghyfaill, wedi arfer ymofyniad, ystyriaeth dwys, a gweddi am addysg a deall iachusol, yr wyf fi yn penderfynu yn fy marn ar y matter, fel hyn; na ddylem er dim

ddychymygu na meddwl am fodd i *chwanegiad* fod at fawredd gwerth aberth neu iawn Crist, er ei fod ef, o'i ras, ac yn ol y cyfammod o ras, *wedi rhoddi ei hun dros ei eglwys*, a'i eglwys yn unig. O herwydd, yn mha fodd y gallai y Tad roddi ychwaneg nag a roddodd, wrth "draddodi ei Fab ei hun?". A pha fodd y gallai yr Yspryd Glân wneuthur ychwaneg at berffeithio aberth, nag a wnaeth efe yn nghenedliad dynoliaeth Crist, yn ei sancteiddiad cyflawn o honi, a phan ddaifu i Grist, "trwy yr Yspryd tragywyddol, ei offrymu ei hun yn ddifai i Dduw?" A pha fodd y gallai Mab Duw offrymu chwaneg nag *ef ei hun?*, na dyoddef ychwaneg, neu i ychwaneg o werth, nag hyd "*berffeithiad* trwy ddyoddefiadau?" Gan hynny, er fod ganddo ef (yn ol ei hollwybodaeth, a'i gyfammod grasol) *derfyn* ar nifer ei brynedigion, a welir *yn aneirif* i ddyn, na fydded i ni, na neb, osod *terfyn* i werth ei aberth EF, na dychymygu byth am un modd i *chwanegiau* fod ato. Gyd âg arswyd a dychryn y byddo i ni gilio y'mhell oddiwrth y fath *Amheuwyr*, sydd (yn ol ymadroddiad Bunyan dduwiol) "wedi llechu yn muriau tref *Mansoul*."

Ond, a oes dim y'mhellach genych, fel helaethiad, neu eglurhâd mwy, ar y matter hwn?

*Hen.* Dim, oddieithr i mi geisio gwneyd adgrynhöad byr o sylwedd ein Hymddyddanion, ac ychydig gasgliadau.

Yn ein Hymddyddan cyntaf, yr ymgais oedd am brofi, fod Crist wedi rhoddi ei hun *tros*, neu *yn lle*, personau, a thros bechodau, y rhai

oll a fyddant gadwedig: Y rhai'n, ei wir eglwys, a brynodd efe "oddiwrth felldith y ddeddf," ac oddi wrth eu pechodau; ac felly, i fod yn eiddo "i Dduw, trwy ei waed, allan o bob llwyth," &c. (*Dat.* 5. 9.) Yn hyn, mi dybygwn, y mae gwir neillduolrwydd prynedigaeth yn gynnwysedig; ac, yn ganlynol, y dylem farnu, mai Prynwr i'w eglwys yn unig ydyw Crist. I mi y mae'n ymddangos yn beth tra anhawdd i neb wrth-ddywedyd hyn, heb arfer y gair *prynwr*, neu prynu, &c. mewn *dau* ystyr gwahanol, yn yr *un* ymadrodd, neu wrthddywedyd cryn lawer o eiriau eglur y Bibl.

Yn ein *hail Ymddyddan*, mi a geisiais ddangos trwy amryw Ysgrythyrau, a chasgliadau oddi wrthynt, fod Crist yn aberth ac yn iawn holl-ddigonol, neu annherfynol ei werth; ac felly, mai nid am fod un terfyn i werthfawrogrwydd ei ufudd-dod ef y mae i ni ei olygu fel Prynwr i'w eglwys yn unig, ond am mai ei wir eglwys a etholwyd ynddo ef, er tragywyddoldeb, ac mai trosti hi, neu ei ddefaid, y gwelodd efe yn dda ei roddi ei hun, yn ol arfaeth a chyfammod grasol y Drindod. (*Eph.* 1. 4, 5, &c *Ioan* 10. 11, 15. *Eph.* 5. 25, &c.)

Yn ein *trydydd Ymddyddan*, rhoddwyd prawf byr ac eglur, allan o benderfyniadau dwy Gymanfa fawr ac enwog (yn *Dort* a *Charenton*) fod barn yr holl eglwysi Protestanaidd (ac yn enwedigol *y rhai oll a amddiffynasant brynedigaeth neillduol, &c.*) yn amlwg hefyd o blaid *gwerth diderfyn aberth y Prynwr*. Dangoswyd gyd â hynny, fod yr hen Buritaniaid

enwog yn ofalus i ddatgan eu barn yn yr un modd, a chryn lïaws o'r awdwyr goreu yn ddiweddarach. Ychwanegais hefyd, na wyddwn i am *un awdwr*, o enwogrwydd, yn dywedyd i'r gwrthwyneb.

At hyn yr wyf yma yn chwanegu gyd â dwysder, fod y farn am *holl-ddigonedd y Prynwr*, neu *werth annherfynol ei aberth*, yn cael eu mynych-gyhoeddi yn mysg y *Methodistiaid Calfiniaidd* yn Nghymru, er pan y cefais i y fraint o ymuno â hwynt (yn y flwyddyn 1772) a chyn hynny yn ddiammeu; fel y mae i'w weled hefyd, yn ysgrifeniadau y rhai mwyaf nodedig yn eu mysg. Ac os oes tyb amgen i'w gael, yn bresennol, o fewn Cymru, *un newydd a diweddar* ydyw: Ac nis gwn i am ei fath, yn addefedig gan un *sect*, na chorph crefyddol, o fewn y byd.——Da a llwyr-reidiol yw cynghor yr Apostol, "Na'ch arweinier oddi amgylch âg athrawiaethau amryw a dyeithr." (*Heb.* 13. 9.)

Yn ein *pedwerydd Ymddyddan*, yr wyf wedi dangos tystion ychwaneg, am *holl-ddigonedd y Prynwr*, y'nghyd â thystiad un gwr boneddig, na wyddai efe am neb, yn mysg y Calfiniaid, yn ei wadu; dau wr arall, Ursinus a Bunyan, yn pennodi y tyb croes yn *gabledd*; a gwr arall Ridgeley, (gallwn chwanegu Scott, ac ereill hefyd) yn gwirio, fod *pawb oll* o addefwyr Duwdod Crist yn addef *gwerth annherfynol ei aberth*. Rhoddwyd atebion hefyd i amryw wrthddadleuon: a chwanegwyd amryw gynghorion a gocheliadau yn yr achos.

Bellach ni chwanegaf ond ychydig bethau, at eglurhâd mwy ar yr hyn a fu sylwedd ein Hymddyddanion:

*Yn gyntaf*, Mai un peth yw y *digonedd diderfyn* sydd yn aberth neu iawn Crist, o ran ei fawredd a'i werth *ynddo ei hun*; ac mai peth arall yw ei *effeithiolrwydd*, sydd yn derfynedig, i gredinwyr yn unig, ac yn rhag-derfynedig, *yn ol arfaeth a chyfammod y Personau Dwyfol.* Deilliad *naturiol a rheidiol*, oddiwrth fawredd personol y Prynwr, y'nghŷd â'i berffeithiad trwy ddyoddefiadau, yw y *digonedd* a bennodwyd: Ond deilliad *grasol*, o ben-arglwyddiaeth, gras, a chyfammod y Personau Dwyfol, yw *effeithiolrwydd* ei aberth, &c. dros ei eglwys, ac iddi hyd byth.

*Yn ail*, Gan ystyried yr hyn a ddywedwyd am ogoniant, mawredd, a gwerth *hanfodol* Crist a'i aberth, ac na ellir chwanegu ato, dysgwn hefyd wahaniaethu rhwng hyn, a'r hyn a alwn ei *ogoniant mynegol* ef, neu ogoniant mynegol Duw. Am hwn (a ellir ei alw yn *amlygiad* o fawredd a daioni y Jehofah) y mae gwaith creadigaeth, rhagluniaeth, ac yn enwedig prynedigaeth, a'i ffrwythau, yn peri *cynnydd*, *a chwanegiad ato*: Y mae'n myned *fwy-fwy* o ddechreu y byd hyd yma; bydd *chwanegiad* ato, o hyn hyd ddiwedd amser, trwy daeniad ei efengyl, a gweithrediad ei ras a'i ragluniaethau: felly y bydd hefyd yn nydd y farn fawr, pan ddêl Crist i'w ogoneddu yn ei saint, &c. a'i saint i'w weled yntau "yn ei ogoniant." (2 *Thes.* 1. 10. *Salm* 102. 16.) Etto, am ogon-

*iant hanfodol* Duw, yr un ydyw erioed, ac hyd byth; a'r un a fuasai, pe ni buasai angel na dyn, nefoedd na daear, nac un creadur, yn bod.

*Yn drydydd*, Ystyriwn eiriau Paul, am Grist; "Yr hwn" (medd efe) "a'm carodd, ac a'i dodes *ei hun drosof fi*." (Gal. 2. 20.) Yma, (fel y mae Mr. S. Clarke, ac ereill, wedi sylwi) gwelwn nad oedd yr Apostol yn golygu dim, na neb, llai nâ Mab Duw, a hwnw yn ei *roddi ei hun* (ïe, *i angau'r groes*) a wasanaethai fel aberth ac iawn *digonol* drosto ef, oedd yn ddim ond *un pechadur*. Oddiwrth hyn, a'r achos sydd o'n blaen, cymmeraf achlysur i'r tybygoliaeth a'r gofyniad hwn, Pe ni buasai ond Adda, neu Efa, neu ryw *un* o hil Adda, i fod yn gadwedig, oni fuasai yr un aberth (yr eiddo Crist) yn rheidiol dros hwnw, tu ag at ei achub mewn ffordd gyfiawn? Gyd â chryndod, a gŵylder gweddaidd, y byddo ein myfyrdodau ar waith, a'n dywediadau; a than reoliad Yspryd a gair yr Arglwydd. Y mae efe yn dywedyd wrthym, "Heb ollwng gwaed nid oes maddeuant," (*Heb.* 9. 22. *Lef.* 17. 11.) a pha waed arall, neu, pa iawn arall (ond hwn a gafodd Duw) a fuasai yn *ddigonol* dros *un* pechadur, na thros *un* camwedd? Ni ddichon neb ei ddangos.

Os gofynir, A yw hyn yn rhyw-beth at ddangos fod gwerth *diderfyn* yn ngwaed Crist? Yr wyf yn ateb, Ydyw; neu, o leiaf, y mae'n dangos hyn, mai llwyr anaddas yw ei gyffelybu i *dalwr punt am werth punt, neu, ei iawn i gloriannau cydbwys, a gwastad, heb fantoliad:*

ac na fydded i'r fath feddyliau difrïawl am dano gael lle ynom. Hefyd, os ydym am gyffelybiaethau, y mae hyn yn arwain at un o'r fath yma, sy'n llawer mwy addas, ar y matter hwn: Y mae'r haul yn *rheidiol* i roi goleuni i *un dyn*, ac yn *ddigonol* i roi goleuni i *filwaith y nifer sydd ar y ddaear*. Felly y mae *gwaed o ddwyfol werth* yn rheidiol i brynu ac i olchi *un pechadur*, ac yn ddigonol i brynu a golchi *nifeiri diderfyn* o ddynol-ryw. Mi a dybygwn y gellir dywedyd, gyd â'r bardd,

"Ni was'naethasai iawn oedd lai,
"Tros un pechadur, tros un bai;"

a thrachefn, am yr iawn annherfynol ei werth,

"Iawn mwy o bwys na 'buasai 'nghyd,
"Aneirif anwireddau'r byd;" &c. W. W.

*Ym*. Fy anwyl gyfaill, nid oes gènyf bellach ond dymuno ac erfyn, am i'r Arglwydd, o'i drugareddau rhad, roddi ei fendith ar ein Hymddyddanion hyn, er rhyw fesur o eglurhâd chwanegol ar y pwngc tra phwysfawr o brynedigaeth. Hwn, y mae'n rhaid ei fod fel cangen arbènig yn athrawiaeth efengyl Crist, unig Achubydd pechaduriaid colledig: ac y mae gènym le i gredu y bydd yn destun arbènig a phènaf i ganiadau ei eglwys, yn y gwynfyd diderfyn. "Hwy a ganasant ganiad newydd, gan ddywedyd, Teilwng wyt ti,—oblegid ti a laddwyd, ac a'n prynaist i Dduw trwy dy waed, allan o bob llwyth, ac iaith, a phobl, a chenedl." (*Datg*. 5. 9.) Ac i'r un perwyl y cawn yn *pen*. 7. 10, 14, 15. a 14. 3, 4, &c. ac mewn llawer o leoedd ereill. A phwy ni hiraethai

am ryddhâd oddiwrth bechod, a'i effeithiau blin-ofidus, i gael bod yn mysg y cantorion llawn-sanctaidd a dedwydd?

*Hen.* Da y dywedasoch, fy mrawd anwyl; a rhodded Duw i ni, dros y rhan sydd yn ol o'n taith yn yr anialwch hwn, fod yn tynnu y'mlaen yn fwy bywiog, mewn ymgais a hiraeth am yr orphwysfa nefol; am fod gyd â'r Arglwydd, a'i dyrfa brynedig, yn lân oddiwrth bob anmhuredd a gŵyrni mewn barn neu fuchedd, wedi golchi a channu ein gynau yn ngwaed yr Oen, ac yn datgan ei foliant yn dragywydd, Amen.

"Nis gall angylion pur eu dawn,
A'u haml ddoniau hwy,
Fyth osod allan haeddiant llawn
Anfeidrol ddwyfol glwy." W. W.

# SYLWADAU

(O'R UN TUEDD A'R YMDDYDDAN I.)

*Ar rai pethau sy'n ymddangos yn wahanol oddiwrth y wir athrawiaeth o Brynedigaeth neillduol, mewn dau Lythyr, a gyhoeddwyd yn ddiweddar, gan Mr. John Roberts, Gweinidog, yn* Llan-bryn-Mair.

YN nechreu ei Lythyr cyntaf y mae J. R. yn chwennych dangos, "*fod bendithion yn cael eu cyfrannu i bechaduriaid yn gyffredinol, trwy ddyoddefaint Iesu Grist.*" A thu ag at brofi hyn, y mae'n dangos y geiriau nodedig sydd yn *Gen.* 8. 20, 21, 22. "A'r Arglwydd a aroglodd arogl esmwyth," &c. Ac, yn y tu dalen nesaf, ni a gawn y geiriau sydd yn *Gen.* 9. 13, 16, 17. "Fy mwâ a roddais yn y cwmwl, &c." Wrth edrych ar y geiriau, a cheisio eu hystyried, yr wyf finnau yn dymuno cydnabod amynedd a daioni cyffredinol Duw: "Daionus yw'r Arglwydd i bawb." (*Salm* 145. 9.) a "hwyrfrydig i ddig;" (*Nahum* 1. 2, 3.) ond er hyn, "*dal dig y mae efe i'w elynion.*" Yr wyf yn cydnabod hefyd, na buasai y byd hwn, ar ol cwymp Adda, yn ddim gwell nâ charcharle anobeithiol, heb un rhodd gysurol a bendithiol, iddo ef a'i hiliogaeth, oni buasai HAD Y WRAIG, a'r addewid foreuol o hono, yn Waredwr i'w bobl. Etto, yn y fath bydew erchyll, heb ddwfr ynddo, nis gallaf ddywedyd na buasai, neu na allasai fod, megis dien-oed (*respite*)

nen ryw radd o arbediad *tros amser*, i'r cyfryw garcharorion. Ie, y mae gradd o hyn, mi dybygwn, yn perthyn i gyflwr y diafliaid, sydd "mewn cadwynau tywyllwch, yn cael *eu cadw i farn y dydd mawr*." (2 Pedr 2. 4 Judas 6 ) Ac onid hyn a barodd i leng o honynt lefain wrth Grist, "A ddaethost ti yma i'n poeni ni *cyn yr amser?*" (*Math*. 8. 29.) Wedi crybwyll hyn, mi a rwydd-addefaf, na ddichon fy neall a'm dawn gwan i osod allan y *pellder dirfawr* sy rhwng cyflwr dynol-ryw *yn gyffredinol* ar y ddaear, a chyflwr y llu di-obaith hwnw: addefaf hefyd, mai yn yr ail Adda "y mae pob peth yn cyd-sefyll:" (*Col*. 1. 17.) Etto, dylem ystyried "gyd ag ofn a dychryn," nad yw yr hyn a gynnwysir yn yr amryw adnodau, a bennodwyd o Lyfr *Genesis*, nac un gair arall o fewn y Bibl, yn symud dim o ddigofaint Duw, a'i farn ddamniol, oddi ar un pechadur, sydd *heb Fab Duw ganddo*. (*Ioan* 3. 18, 36.) Tra amlwg yw, fod pob un o'r cyfryw yn felldigedig yn ei berson, yn ei fwriadau, ei weithredoedd, a'i feddiannau oll. (*Gen*. 3. 17. *Deut*. 27. 26. a 28. 16, 17, &c. *Salm* 109. 7, 18. *Diar*. 3. 33. *Rhuf*. 1. 18. a 4. 15. *Gal*. 3. 10—13.)

Gan hynny, a chan mai nid i brynu arbediad, na rhoddion, *dros amser*, ond *i brynu pechaduriaid oddiwrth felldith y ddeddf*, *ac oddiwrth eu pechodau*, ïe, *i heddychu gelynion* â Duw, i'w *prynu i Dduw*, ac i'w *sancteiddio a'u cadw byth*, y rhoddodd Crist ei waed yn dywalltedig, a'i hun yn aberth (*Rhuf*. 5. 10. *Gal*. 1. 4. a 3. 13. *Eph*. 5. 25, 26, 27. 1 *Pedr* 1. 18, 19. a 3.

18. *Datg*. 5. 9. a 7. 14.) nis gwn i yn ddiau pa fodd y gellir, yn ol y gwirionedd, gyduno â dywediad J. R. mai "*ar hyd llwybr y gwaed*" y mae y rhoddion *tymmorol*, neu y pethau *benthyg* hyn, yn dyfod i'r rhai y gŵyr Duw na wnant ond eu defnyddio i bechu i'w erbyn, a'r rhai y mae efe ei hun yn datgan fod *ei ddigofaint yn aros* arnynt, a'u bod yn *felldigedig* yn yr hyn oll a feddant, ac a wnelont. Yn ostyngedig mi a ddymunwn i'r ystyriaeth am hyn gael lle dyladwy. Ac ai anrhydedd addas i Grist ydyw meddwl ei fod wedi rhoddi ei waed, mewn rhan, i brynu *pethau tymmorol*, neu, yn wir, *breintiau a doniau crefyddol ac ysprydol*, a'r cwbl wedi eu gadael *dan felldith*, ac yn *arogl marwolaeth*, i'r rhai sydd yn eu mwynhau? Onid gwaed *yn llefaru pethau gwell* nâ hyn yw gwaed Crist? ie, ac yn gwneuthur heddwch am byth rhwng Duw a'r pechadur a gaffo brawf o'i rinwedd? A pha heddwch, na bendith rasol, ac effeithiol, sydd oddi wrtho i neb arall?

Hefyd, ai nid oes gwahan mawr rhwng golygu Crist fel Crëwr a Meddiannydd pob peth oll, nes ydynt felly *yn cyd-sefyll ynddo ef*, a thybied fod *pob peth* o'i roddion naturiol, neu freintiau crefyddol, yn dyfod i'w elynion, fel *rhyw gyfran o bwrcas ei waed ef*, yr hwn a dywalltwyd i *wneuthur heddwch*, a'i elynion yn gyfeillion iddo? I mi y mae'n ymddangos fod yma wahaniaeth mawr iawn, ac y dylem oll ddal sylw dwys arno.

Yn fyr, am yr holl roddion tymmorol, neu

ysprydol, sy tan ddwylaw y bobl a fyddant byw a marw "heb Grist" *yn rhan*, ac heb yr heddwch hwn, onid cymhwysach fyddai edrych arnynt fel rhoddion benthyg, neu fel y dalent a'r bunt (yn *Math*. 25. 24. *Luc*. 19. 20.) a roddwyd *dros amser* yn nwylaw gweision *anfuddiol, drwg, a diog*? ac hefyd fel pethau a roddir, gan *Ben corph yr eglwys*, yn meddiant *dynion y byd hwn*, etto, o'i gariad at, a'i ofal am, ei eglwys,* ac er mwyn ei chynnal hi o oes i oes, yn ol ystyr amlwg llawer o rannau o'r Ysgrythyr? (1 *Cor*. 3. 21, 22. *Eph*. 1. 22. *Esay* 43. 4,—7.) Ystyriwn hefyd y fath wersi a'r rhai'n; *Ïoan* 17. 9, 19, 23. *Eph*. 5. 2, 25, 29, 32. y'nghŷd â chryn lïaws o'r cyffelyb, sy'n dangos Eglwys Dduw fel ei *drysor prïodol ef*, a "holl annuwiolion y tir, fel sothach." A pha fodd y meddyliwn am eu däoedd bydol, nac am eu breintiau a'u doniau oll, ond mewn *perthynas* sy'n anwahanol oddiwrth *eu cyflwr* hwynt eu hunain? Rhoddwyd i Grist "bob awdurdod, yn y nef ac ar y ddaear:" Ac, onid *i fagu a maethu ei gorph ysprydol*, y mae efe yn cynnal y ddaear, a'i thrigolion oll, gan roddi ei ragluniaethau, a'i angylion, ië, y byd, bywyd, ac angau, a'r diafliaid hefyd (*tan orfod*) i fod yn wasanaethgar i'r un dyben? (*Rhuf*. 8.

---

* Cafodd y Sodomiaid drygionus lawer o roddion a mwyniant amserol, megis tan gysgod Lot dduwiol: A phe buasai o honynt oll ond *deg* o bobl gyfiawn, hwy a gawsent arbediad rhag y farn arswydus a'u goddiweddodd, a llawer o roddion ychwaneg, neu dros amser meithach, *er mwyn y rhai'ny*. (*Gen*. 18. 32.)

28,—39. 2 *Cor.* 12. 7. *&c.* *Math.* 18. 10. *Heb.* 1. 14.)

Yn *tu dal.* 5. y mae J. R. yn dangos fod "galwad yr efengyl yn gyffredinol ar bawb:" Gwir iawn yw hyn, mi addefaf, hyd y cyrhaeddo y cyhoeddiad o honi. Ond yn *tu dal.* 6. y mae efe yn chwanegu, "Nid wyf yn gweled pa fodd y gellir gwadu, fod *yr un berthynas* rhwng gwaed Iesu Grist a phechaduriaid yn gyffredinol, ag sydd rhwng *galwad* yr efengyl a phechaduriaid yn gyffredinol."

Ar hyn yr wyf yn sylwi, fod y geiriau, *perthynas* a *galwad*, yn ymddangos i mi yn wahanol eu hystyr, neu, o leiaf, yn ddau air, a ellir eu harfer mewn ystyriaethau pell oddiwrth eu gilydd; a'r un modd, os chwanegir at y gair *galwad*, y fath eiriau a *gwahoddiad*, *cynnygiad*, *&c.* A thu ag at geisio eglurhau fy meddwl am y gair *perthynas*, mi a ddywedaf, mai gwir yw, am Grist, fel Duw-ddyn, fod *perthynas* rhyngddo a'n natur ni, bawb oll o ddynolryw: ac yr wyf fi yn credu fod ynddo nid yn unig *addasrwydd*, ond *digonolrwydd* hefyd, at eisiau pawb oll o honynt, fel dynion, ïe, fel dynion pechadurus; a'i fod hefyd wedi rhoi gorchymyn i'w weinidogion ei bregethu, ei gynnyg, a'i gymhell i dderbyniad pawb oll o'u gwrandawyr, a hynny nid fel pobl etholedig, pryn-edig, a sancteiddiedig, ond fel pobl euog, halogedig, a cholledig. Pe buaswn yn deall mai yn ol un, neu oll, o'r golygiadau hyn, ac nid mewn ystyr pellach, y mae J. R. yn arfer y gair *perthynas*, ni buasai i mi feio, na dadleu

yn yr achos. Ond, fel y mae pethau yn bod, a thu ag at geisio chwilio am y gwirionedd, mi a ofynaf,

A oes *perthynas* rhwng holl ddynol-ryw, neu holl wrandawyr yr efengyl, a Christ, tebyg i'r berthynas sy rhwng plant a'u rhïeni, etifedd mabwysiedig a'i fabwysiadwr, neu wraig a'i phrïod? Nac oes. A oes perthynas rhwng holl ddynol-ryw, neu holl wrandawyr y gair, a Christ, tebyg i honno sy rhwng gwr ac etifeddiaeth ddaearol, nid yn unig a gynnygier iddo, ond a dderbyniwyd ganddo, ac a droswyd i'w feddiant trwy ysgrifeniadau addas yn ol y gyfraith? Mi dybygwn mai ateb nacäol sy'n addas yma hefyd.

Gan olygu y sylwedd, heb wisg o gyffelybiaeth, mi a ofynaf, A yw Crist yn ben-cyfammodwr, yn fechnïydd, neu yn dalwr iawn, *dros*, ac *yn lle*, y rhai a gyfiawn-gospir am eu dyled, neu eu camweddau eu hunain? A yw efe, mewn un gradd, yn sefyll yn *un* o'r perthynasau hyn, neu yn offeiriad, yn brophwyd, yn frenin, yn brynwr, yn sancteiddydd, neu achubydd iddynt? A yw ei air yn dangos ddarfod iddo fwriadu, addaw, na gwneuthur, *un* o hyn oll? A yw ei waed, ei iachawdwriaeth, ei ras, ei heddwch, ei ddelw, ei addewidion, ei nefoedd, neu *un* o honynt oll, yn eiddo i ryw-rai heblaw y rhai a gredant ynddo? Nis gwn i pa fodd y dichon J. R. roddi ateb i'r gofyniadau hyn, a hynny yn gyson â'i egwyddorion ereill, ond yn nacäol; Ac os felly, onid *perthynas bell iawn* yw honno, sy rhwng *gwaed Crist* a'r miloedd o fil-

ynau o bechaduriaid sydd heb ei adnabod, ac heb gredu ynddo?

Yn fyr, mi a feddyliwn fod gwahaniaeth mawr rhwng ystyr y gair, *perthynas*, a'r geiriau, **galwad a chynnygiad*. Y mae gan weinidogion yr efengyl sail ddigonol i ddatgan *galwad cyffredinol* yr efengyl, a *chynnygiad* o Grist, i bawb oll o'u gwrandawyr: yn y pedwar matter canlynol; 1. Holldigonedd Crist, neu werth anfeidrol ei aberth a'i iawn; 2 Gorchymyn Duw i bregethu ei efengyl i'r holl genhedloedd; 3. Y sicrwydd sydd i'w gael yn ngair Duw, nad yw arfaeth na chyfammod grasol y Personau Dwyfol, ddim yn creu, nac yn gosod, un †rhwystr nac attalfa, yn nghalon, nac ar ffordd, un pechadur, i gredu a bod yn gadwedig; 4. Addewid Duw, i fod yn cyd-weithio â galwad ei air, ac y bydd i bwy bynag o'r *holl fyd* a gredo ynddo gael ei gadw, yn lle ei ddamnio.——Mi a dybygwn mai yn y pethau sylweddol hyn, ac nid yn *anwybodaeth* y pregethwr, na'r pechadur argyhoeddedig am y bobl sy'n etholedig (fel y dywed J. R. am y farn groes i'r *berthynas hon, yn tu dal* 7.) y mae i ni, mewn modd cywir a chadarn, ddatgan galwad a chynnygiad yr efengyl i'n gwrandawyr oll; er mai gwir yw hefyd, nâ wyr un dyn pwy yw y rhai a etholodd Duw, ac a brynodd Crist, ond

---

* Dealler *galwad* yma yn ol ystyr y gair *galw* yn *Math*. 20. 16. a 22. 14. *Jer*. 7. 13. &c. &c.

† Yn y *dyn* y mae y rhwystr; ac nid oes rhwymau ar Dduw i'w symud, ond o'i gariad, ac yn ol ei fwriad grasol ei hun.

yn ol y graddau y byddo i weithrediad grasol yr Ysbryd beri dangosiad o hynny.

Ond y'mhellach, am y gair *perthynas*, mi a ddywedaf (gan gyfeirio at gyffelybiaeth a welais gan J. R. (*yn ysgrifenedig*) Pe byddai i wr mawr a thirion wnëyd *cynnygiad* o faes eang i'w gymydog tlawd, ac yntau yn gwrthod y cynnyg, neu y galwad i'w feddiannu, ond er hynny yn rhyfygu troi ei anifel, neu anifeiliaid, i'r cyfryw faes, gan haeru fod *perthynas* rhyngddo ef a'r tir, o herwydd i'r gwr ei *gynnyg* iddo, oni fyddai efe trwy hyn yn gelwyddog, ac yn lladronaidd hefyd? Felly, nid y *cynnygiad* o Grist a'i waed sy'n gwnëyd *perthynas*, yn ol ystyr pènaf y gair, rhwng un pechadur âg ef, ond y *derbyniad* o hono i'r galon, neu *dderbyn* y cymmod. (*Col.* 2. 6. 2 *Cor.* 5. 20. *Iago* 1. 21.)

Gweddai i ni ystyried hefyd (yn erbyn y *berthynas gyffredinol*, y dadleu J. R. o'i phlaid) nad oes hyd heddyw ond prin y *hummed ran* o ddynol-ryw *yn gyffredinol*, yn clywed, nac yn gweled, y *cynnygiad* o Grist a'i waed, a gyhoeddir yn ei efengyl. Ond am y rhai oll sy'n cael y cynnyg o hono, a hwythau yn ei wrthod, ac megis yn ei sathru dan eu traed, pa fodd nad ydynt, o leiaf, mor bell oddiwrth *berthynas* âg ef, a'r lluoedd sydd heb erioed glywed am dano?

Y'mhellach, os nad yw *etholiad, a galwad effeithiol, &c.* yn gyffredinol (fel y mae J. R. yn addef) pa sail sydd i ni farnu fod un math, na gradd, mwy o *gyffredinolrwydd* yn perthyn

i brynedigaeth? Yn ngair Duw, yn wir, ni fedraf fi weled dim o'r fath sail. Lle y mae'r Arglwydd yn bendithio, onid yw efe yn bendithio "*â phob bendith ysprydol* yn y nefolion leoedd" (neu *mewn nefolion bethau*) "yn Nghrist?" (*Eph.* 1. 3, 4.) Yn fyr, drwg iawn gennyf fi na chawsai *Etholedigaeth a Phrynedigaeth* fod fel dwy Chwaer, o bendefigesau nefol, mewn cydsyniad perffaith, a'u gosgorddion nefol, Galwedigaeth effeithiol, Cyfiawnhâd, Mabwysiad, Sancteiddiad, Parhâd mewn gras, a Gogoneddiad, yn canlyn ar eu hol, mewn llawn brydferthwch.—Hyd y gwelaf fi, fel hyn y mae gair Duw yn eu darlunio. Ac yr wyf yn meddwl na fedr neb ddangos, fod *gras Crist* (a barodd iddo fyned yn dlawd, ac a hynodir yn 2 *Cor.* 8. 9.) yn beth a ellir ei wahanu oddiwrth *gariad Duw, a chymdeithas yr Yspryd* (yn 2 Cor. 13. 22.) A phwy bynag a rydd gais am hyn, ni lwydda.

Ond y mae J. R. yn dyfod yn fuan (*tu dal.* 6.) i geisio dangos *dybenion cyffredinol* marwolaeth Crist, trwy rai gwersi o'r Bibl, a ddefnyddiwyd, neu a gam-ddefnyddiwyd, lawer canwaith, gan ddadleuwr dros *bryniad cyffredinol*, i geisio yr hyn nid yw ond *rhith o brawf* o blaid eu daliadau cyfeiliornus. Y mae'r gwersi hyn yn dywedyd, fod Crist *wedi marw dros bawb* —yn *bridwerth dros bawb*,—ac *yn iawn dros bechodau yr holl fyd*. (2 Cor. 5. 14, 15. Heb. 2. 9. 1 Tim. 2. 6. 1 Ioan 2. 2.) Wrth hyn mi a ddywedaf, Y mae yn yr atebion i'r ddadl, agoriadau eglurhäol a helaeth (ar y geir-

iau hyn, ac ereill) wedi eu rhoddi gan liaws mawr o dduwinyddion enwog; ac y mae J. R. yn ddïaummau yn gydnabyddus â llawer o honynt. Mi a ddymunwn iddo gael ei foddloni drwyddynt yn yr achos. Yma ni wnaf fi ond pennodi un o'r enwocaf a blaenaf o'r *Independiaid* yn Mrydain. sef y Dr. Owen (yn ei lyfr, *Death of death, &c.*) a chrybwyll am un, sydd yn bresennol yn dad enwog yn Nghymru, yn weinidog yn yr un corph o grefyddwyr, ac yn hynafgwr, a chymmydog lled agos i J. R. (Edrycher i *Gorph Duwinyddiaeth* y Dr. Lewis, *tu dal.* 172, 173.) Chwanegaf, yn fyr, yr ychydig ystyriaethau canlynol ar hyn:

1. Ystyrier yr hyn a ddywed Crist ei hun, yn *Iöan* 6. 45. Pwy yw y "*pawb* a fyddant wedi eu dysgu gan Dduw?" "Pob un *a glywodd gan y Tad, ac a ddysgodd,*" *&c*: Ac, os gofynir, Pwy yw y *pob cnawd* y mae Duw wedi addaw tywallt ei Yspryd arnynt? (*Joël* 2 28.) ni a gawn ateb Duw yn *Act.* 2. 17.—41. Ac felly, os gofynir, Pwy yw *y pawb*, y bu Crist farw drostynt, neu, sydd wedi eu prynu gan Grist? onid hyn, yn ol cysondeb ysgrythyrol, ac yn ol gwir reswm hefyd, fyddai yr ateb, Y rhai oll, o'r Iuddewon a'r Cenedloedd, sy'n dyfod at Grist, ac yn cael eu huno âg ef?

2. Mi a feddyliwn y gallai J. R. ac ereill yn hawdd weled, fod anhawsder *llawer mwy* iddynt hwy roddi dehongliad cyson, a boddlonawl (ïe, iddynt eu hunain) *ar eiriau ereill*, yn yr un adnodau, nag sy'n cyfarfod â gwir amddiffynwyr prynedigaeth neillduol yn y de-

hongliad a roddant ar y cyfryw eiriau ehang ag yw *pawb*, *pob dyn*, *&c.* Enwaf y geiriau *uper* ac *anti* (a gyfieithir) *tros* neu *dros* lawer, neu bawb. Ai nid yw *marw (uper) dros ryw-rai*, ychydig neu lawer, yn arwyddo yr un peth a marw ** yn eu lle*, neu farw fel na byddai i gyfiawnder, byth ofyn am i'r cyfryw *farw* yn eu hachos eu hunain, neu tan ddïaledd am ddyled a dalwyd gan eu Mechnïydd? Drachefn, am y geiriau *lutron anti*, ac *antilutron uper*, (Math. 20. 28. Marc 10. 45. 1 Tim. 2. 6.) pa ystyr a ellir ei roddi i'r cyfryw eiriau, ond *pris a thaliad* (neu *bridwerth*) *dros*, ac *yn lle*, rhai mewn caethiwed, a'r pris a'r taliad hynny yn galw, neu yn cyfiawn ofyn, am ryddhâd y cyfryw gaethion o'u caethiwed? Y mae y fath eiriau (*uper* yn enwedig) yn aml, yn y Bibl, ar y matter hwn: ac os cymmerwn hwynt, a'r geiriau helaeth, *pawb*, *y byd*, &c. yn ol y dehongliad y tueddodd J. R. ato, pa fodd y gellir dywedyd fod Crist, os nid dynion hefyd, heb gael cam dirfawr, gan nad yw *pawb oll* o ddynol-ryw yn cael eu rhyddhau oddiwrth felldith y ddeddf, a'u gwaredu oddiwrth bechod a digofaint?

Yr wyf yn cael mewn dau fan, ar y matter hwn, air sy'n ymddangos yn llai amlwg nâ'r

* Yr oedd hyd yn nod Caiaphas ddrygionus (yn *Iöan* 11. 50.) yn arfer y gair (*uper*) yn ol yr ystyr hwn, er mai gydâ bryd a dyben atgas. A gwelwn hefyd y modd y mae Ysbryd Duw yn rhoddi iawn ddehongliad, neu gymhwysiad cywir, i'r geiriau a lefarodd efe mewn cynddaredd llidus yn erbyn Crist. (*adn.* 51, 52, 53.)

gair *uper*; sef yn *Math.* 26. 28. a *Marc* 14. 24. *peri pollôn*, "dros lawer." Ond pe darllenem y ddau le fel hyn (ac yn ol ystyr isaf y gair *peri*) "*yn achos llawer*," gweddai i ni ystyried hefyd y geiriau sy'n canlyn, gan *Mathew*, sef, "*er maddeuant pechodau.*" Mi a feddyliwn, pa nifeiri bynag sydd yn y *llawer* y rhoddodd Crist ei *waed yn dywalltedig drostynt*, neu ynte *yn eu hachos*, fod y fendith aumbrisiadwy o *faddeuant pechodau* yn sicr o gael ei derbyn gan *bob un* o honynt. Y mae hyn yn ymddangos i mi yn deilwng o ystyriaeth pawb o honom.

3. Fod Yspryd Duw wedi arfer ymadroddion tra ehang a helaeth am bryniad a gras Crist, y rhai ni arferodd efe am etholedigaeth, yr wyf yn ei addef: Ond ai ni allwn ni weled (er mor bŵl ein golwg) fod achos am hynny, o herwydd cam-dyb a chulfarn yr Iuddewon yn gyffredin, a'r Apostolion eu hunain *dros amser*, y rhai a farnent, fod y Messiah, pan y deuai, i fod yn gymmwynaswr a gwaredwr *i had naturiol Abraham yn unig*, ac nid i un genedl arall ar wyneb y ddaear? Ac onid oedd achos am y cyfryw ymadroddion ehang ag ydyw *y byd*, *yr holl fyd*, *pawb*, *pob cnawd*, &c. tu ag at ddadymchwel y fath farn gyfyng a thyb gau, oedd wedi cael cymmaint o oruchafiaeth? Hefyd, ystyrier mor fynych y mae Yspryd Duw wedi arfer y fath eiriau, *yn amlwg*, mewn ystyr terfynedig.

Yn *tu dal.* 8. y mae cyfaill J. R. yn gofyn, "A fu Iesu Grist ddim farw dros yr etholed-

igion *yn fwy neillduol na thros ereill?*" Ond yn ei ateb i hyn y mae yn troi oddiwrth y pwngc, at *etholedigaeth gras.* Ar hyn yr wyf etto yn cwyno, na chawsai Etholedigaeth a Phrynedigaeth fod, fel chwïorydd prydferth a chyttun, megis o'r un meddwl, ac yn gweithredu yn yr un cylch a'u gilydd. Yn lle hyn, y mae'r tyb ei fod wedi marw *dros* ereill, heblaw ei wir bobl, yn cael ei fagu a'i faethu. Etto fe ddywed J. R. yn fuan, "fod *perthynas neillduol* rhwng y cwbl o gyfryngwriaeth Iesu Grist a'r etholedigion." Ond ni fedraf fi er hyn ddeall pa *berthynas arall*, â budd a pharhâd ynddi, sy rhwng ei gyfryngwriaeth a'r rhai sy'n byw ac yn marw yn elynion iddo, gan ddywedyd, "Ni fynnwn ni hwn i deyrnasu arnom," neu y rhai y bydd yntau yn dywedyd wrthynt yn y farn fawr, "Nid adnabum chwi erioed."

Y mae dywediad J. R. ei hun i'w gael yn fuan fel hyn, "Yr oedd Adda yn cynddrychioli *ei holl had naturiol*, felly Crist *ei holl had ysprydol*." Cywir a chyson â gair Duw, ydyw hyn; ond ni fedraf ddirnad ei fod yn gyson âg amryw o ymadroddion J. R. yn y llythyrau dan ein hystyriaeth. Yn fuan iawn medd efe, "Nid oes le i ammeu nad oedd Iesu Grist, wrth ddyoddef, yn edrych ar yr etholedigion fel *rhan neillduol* o wobr ei lafur." *Rhan neillduol!* Ni fedraf fi weled hyn yn gasgliad da a chywir oddiwrth *un rhan* o air Duw, nac yn athrawiaeth dda, er gogoniant i Grist, na lles i eneidiau dynion. Pa *ran arall* o wobr ei lafur, fel Prynwr, a fydd iddo? Mi dybygwn

fod J. R. yn ateb yn *tu dal.* 10. "*Rhoddion gwerthfawr—bendithion tymhorol* i bawb, yn mhob gwlad, ac yn mhob oes.—I rai gwledydd &c. mae yn aufon efengyl y deyrnas," &c.——Rhoddion, neu fendithion tymhorol! A roddodd Mab Duw "ei waed," neu "ei hun," mewn un rhan na mesur, am y pethau hyn? Oni fydd y rhai'n oll yn ulw cyn y bo hir? Ac onid rhan, a rhan dan felldigiad, i'r rhai "y mae eu rhan yn y bywyd yma," yw y rhai'n, yn fwyaf helaeth a chyffredin? (*Salm* 17. 14. *Luc* 16: 25.) Os bydd i ni, gydâ y rhai'n, neu yn eu lle, olygu fod *rhoddion neu freintiau ysprydol* yn rhan o bwrcas gwaed Crist, mi a dybygwn y dylem gofio, na fydd dim o'r rhai'n oll gan un dyn annuwiol, ar fyr; (*Math.* 25. 28.) ac, megis mai ei waed ef oedd y gwerth er pryniad, nid *pethau llygredig*, felly mi dybygwn mai nid pethau *a ddichon lygru*, neu ddiflannu, a brynodd efe, ond eneidiau a chyrph ei bobl, a fydd yn *drysor prïodol*, ac yn *dlysau* sancteiddiedig iddo byth. (*Malaci* 3. 17. 1. *Pedr* 1. 18, 19.)

A fydd ei elynion, dan ei ddigofaint yn *rhan o wobr ei lafur?* Mi a obeithiaf na ddywaid J. R. mo hyn, er y cawn eiriau, yn fuan, sy'n ormod o'r tuedd.—Yn fyr, y mae gair Duw yn dywedyd mai "Rhan yr Arglwydd yw *ei bobl:*" (Deut. 32. 9.) Ac felly, onid *rhan gyfan* Crist fydd ei bobl brynedig "i Dduw, trwy ei waed?" (*Datg.* 5. 9.) Ac onid fel hyn y gwelir y matter, yn y dydd mawr, "pan ddêl efe i'w ogoneddu *yn ei saint?*" (2 Thes. 1. 10.) a phan

y dywed efe wrth ei Dad, Wele fi, a'r plant *a roddaist i mi? Er eu mwyn hwynt y sancteidd-iais fy hun*, i'r gwaith a wnaethum drostynt? (*Iöan* 10. 28. a 17. oll. ac 18. 9)

Hyn yn fyr, ar rai pethau beius, sydd yn mysg pethau gwell, yn y Llythyr cyntaf.

Yn yr ail, y mae J. R. yn ateb y gofyniad hwn, o eiddo ei gyfaill, "Od oes *perthynas* rhwng gwaed Iesu Grist *â phawb sydd yn clywed yr efengyl*, oni thywalltodd ei waed *yn ofer* gydâ golwg ar y rhai sydd yn anghredu?" —I hyn y mae efe yn ateb, "*Na atto Duw* i neb ddywedyd, neu feddwl, i'r Cyfryngwr mawr dywallt ei waed yn ofer, mewn un ystyr-iaeth."——Yr wyf yn ddïau yn coelio nad yd-oedd yn *mwriad* J. R. roddi achlysur i'r fath dyb gan. Etto, ac er ei ymwrthodiad cryf hwn, ni fedraf fi weled dim yn canlyn er *prawf addas*, i'w ddiffeio ef yn y matter. Ac mi a feddyliwn na ellir rhoddi ateb, gyd â phrawf teg a chywir i'r gofyniad, heb ymwrthod â'r tyb, *fod Crist wedi rhoddi ei waed i brynu rhyw bethau, neu bersonau, heblaw ei wir eg-lwys*, neu, *ei fod wedi marw dros, neu yn lle, neb, heblaw ei eglwys, neu ei wir bobl ar led yr holl fyd.* Ac, yn ateb i eiriau nesaf J. R. mi a ddywedaf, Nid am *waed Iesu*, yn *mawredd ei werth hanfodol*, nac o ran *dyben cyfammodol* ei dywalltiad, y dywedir, ei fod yn *ber-arogl &c. yn y rhai colledig*; ond am y *cyhoeddiad*, neu, yn fanylach, *y cyhoeddwyr* o hono: "Per-arogl Crist *ydym ni* i Dduw," &c. (2 *Cor.* 2. 15.) Y mae gwir weinidogion Crist, a'u gwein-

ddogaeth, yn gymmeradwy gan Dduw, er i lawer o'u gwrandawyr fod yn anghymmeradwy. Ond nid oes dim *perthynas*, trwy gyfammod na meddianniad, rhwng gwaed Crist â'r rhai a fydd yn *golledig*, pa un bynag ai gwrandawyr yr efengyl ai ereill fyddont.

Etto yn fuan (*tu dal.* 11, 12.) ni a gawn hyn gan J. R. "Gwel Iesu o ffrwyth llafur ei enaid, nid yn unig yn iechydwriaeth yr etholedigion, ond yn y modd ag y bydd gogoniant llywodraeth Duw yn ymddyscleirio yn **nghosp* y rhai anufudd i'r efengyl."

---

* Y mae yn lled ryfedd y modd mae *yr un ystyriaethau*, neu *fatterion*, yn achlysuron i gasgliadau *mor wahanol* yn meddyliau y naill ddyn oddiwrth y llall.—Clywais, yn ddiweddar, am wr a fuasai, am flynyddoedd, yn mysg trigolion tywyll Affrica, yn gweled llawer o arwyddion gresynol o'u llygriad dwfn, a'u pellder oddiwrth Dduw a'i ras. Ond yr oedd y gwr wedi hoffi y tyb, *Fod gan bob un o hil Adda wreichionen o synwyd ysprydol, neu dalent, o leiaf, o ras cadwedigol, i'w ddefnyddio, neu beidio, yn ol ei rydd ewyllys.* Ar ei ddychweliad i Gymru, yr oedd yn pregethu mewn pentref, gerllaw *Dyffryn Clwyd:* ac, fel cadarnhâd i'w bwngc, efe a ddywedodd wrth ei wrandawyr, am ystrueiniaid Affrica, "fod ganddynt oll gymmaint o ras a'u bod *yn addoli rhyw-beth*"!!—O enau un o'i wrandawyr yr wyf yn cymmeryd hyn.

Un arall, mewn pregeth argraffedig, ar ol arfer llawer o ddadleuon (tra anghywir, dybygwn i) er cryfhâd i'w dyb, *am bawb oll o hil Adda wedi cael eu prynu gan Grist*, a ddywed, "*Mae adgyfodiad cyffredinol* wedi ei sylfaenu ar *brynedigaeth gyffredinol*, ac y mae'r ddau bwngc yn sefyll neu'n syrthio gyd â'u gilydd." S. D. *tu dal.* 25.

Yn groes i'r *cyntaf* y buasai llawer yn casglu; sef, fod gwaith dynion *yn addoli rhyw-beth*, (seirph, pryfed, eythreuliaid, yr haul, y lloer, neu ryw greadur) yn brawf cryn amlwg o'u bod heb un wreichionen o wir wybodaeth, cariad, ofn, neu *ras* Duw:—Ac yn groes i'r llall y buasai casgliad amryw; sef, y bydd adgyfodiad cyrph yr annuw-

Pa beth? A welir *rhan* o ffrwyth llafur enaid y Prynwr, *yn nghosp yr anufuddion yn uffern*, ac nid yn unig yn iechydwriaeth yr etholedigion? Drwg iawn yw gènyf weled y fath dyb yn argraffedig: Ond yn lle ei ddu-nodi yn drwm, cwyno a wnaf (fel yn y sylw-nod isod, ac) fel hyn; O, na buasai J. R. yn ystyried yn well y gwahaniaeth mawr sy rhwng gwaith Duw fel Llywydd a Barnydd cyfiawn, yn dïal ar ei elynion, a gwaith y Person Dwyfol, mewn cnawd, yn rhoddi ei hun *dros* bechaduriaid, i'w hachub rhag y pechod, a'r dïal hefyd! Mi a feddyliwn y gallasai yr ystyriaeth am hyn ragflaenu yr amryfusedd hwn.

Yn nesaf, y mae efe yn sylwi, "fod ymerodraeth Duw yn ehang iawn, a'i ddeiliaid yn dra llïosog." Ac, "fe allai nad yw dynol-ryw yn gwneuthur ond rhan fechan, mewn cydmariaeth, o'r rhai a berthyn i'w lywodraeth."——Ar hyn, yn fuan, y mae'n ceisio dangos (oddi-

---

iolion, i *farn o gondemniad a bythol wae*, yn brawf digon amlwg na phrynwyd mo'r cyfryw gan Grist; "*yr hwn a'n llwyr-brynodd oddiwrth felldith y ddeddf*,' medd Paul, yn enw yr holl brynedigion: (*Gal.* 3. 13.)—Ond fel hyn y mae pethau yn myned, a thybiau mor groes yn cael eu casglu, a'u magu, yn ein byd gresynus ni!

Ac yn lled debyg y mae yma etto gyd â mi, yn groes i J. R. Buaswn i yn meddwl, y bydd "*cosp* y rhai anufudd" yn brawf digon sicr, mai *nid* ynddynt hwy, na'u cosp, y bydd i Grist byth weled "o lafur ei enaid," ond, yn hytrach, yn "nghyfiawnhâd llawer trwy ei wybodaeth," (*Esay* 53. 11) ac felly yn eu pryniad oddiwrth bechod, a'i gosp hefyd, ac yn achubaeth ac iachawdwriaeth ei holl wir bobl. ——Felly, y mae ein casgliadau oddiwrth y matter hwn, drachefn, yn llwyr wahanol: Ac nid oes gènyf fi ond eu gadael i'r hwn a biau farnu, ac a farna yn berffaith gyfiawn,

wrth *Col* 1 14,- 20. yn enwedig oddiwrth y wers olaf hon) "helaethrwydd effeithiau angau'r groes," am fod y Tad "*wedi cymmodi pob peth, trwyddo ef, âg ef ei hun*."—I hyn mi a atebaf, Yn mysg yr amryw esponwyr y cefais i olwg ar eu gwaith, nis gwn am *un*, sydd yn agos i iachusrwydd, yn ceisio daugos y geiriau, fel pe byddent yn brawf o fod *holl ddynol-ryw* yn gyfranogion (mewn rhyw radd neu ystyr) yn y *cymmod* trwy Grist, neu yn *effeithiau* heddychol a glauhäol ei waed; er fod rhai yn golygu fod yr angylion da yn cael *math o gymmodiad â dyn*, a'u cadarnhau yn eu sefyllfa ddedwydd. Os oes esponwyr yn dadleu o blaid *cymmodiad cyffredinol*, rhai tra chyfeiliornus ydynt.—Ond, yn bresennol, rhoddaf le i ddehongliad gwr o gryn enwogrwydd, y *Parch. T. Scott*, un y mae rhai yn barnu ei fod yn tueddu i rannu'r ymrafael yn y ddadl hon. Medd efe, ar y geiriau "*pob peth*" &c.—"Yr oedd ysprydoedd y cyfiawnion." [oedd eisoes] "yn y nef, yn ddyledwyr am eu cymmodiad i ymrwymiad Crist drostynt: a phawb ar y ddaear, pa un bynag ai Iuddewon ai Cenedloedd, a gredasant yn Nghrist, wedi cael eu cymmodi â Duw, trwy eu hundeb â Christ, a'u hawl yn y cymmod sydd yn ei waed ef: ac fel hyn y cwbl yn dyfod yn un eglwys ac un corph *ynddo EF*. A hwy a gânt o'r diwedd eu symud i'r nef, i fyw yno am byth mewn cymmodiad perffaith a chyfeillgarwch â Duw, ac â'u gilydd. Hyn, tybygid, a feddylir wrth y "pob peth yn y nef a'r ddaear;" o herwydd, er fod yr angyl-

ion sanctaidd yn dyfod, trwy Grist, i fod yn un teulu â phechaduriaid prynedig, etto ni ellir dywedyd eu bod hwy yn cael *cymmod* â Duw, gan na fuant hwy erioed mewn cyflwr o elyniaeth i'w erbyn."——Y mae hyn yn ymddangos i mi fel deongliad cynhwys a chywir iawn ar y geiriau: ac felly nis gallaf gydsynio â'r golygiad sy gan J. R. arnynt.

Yn nesaf (*tu dal.* 13.) y mae cyfaill J. R. yn gofyn "Pa fodd y mae cynnygiad o iechydwriaeth trwy waed Crist yn *fendith* i'r rhai sydd yn ei wrthod, yn gymmaint ag y bydd *eu trueni yn fwy* na phe buasent heb gael y cynnygiad."——I hyn y mae sylwedd ei ateb, *yn *gymhwys hyd y mae'n cyrhaedd*, i'r perwyl hwn, Nad yw rhoddion na chynnygion Duw yn ddim llai eu gwerth, am fod pechaduriaid yn eu cam-ddefnyddio, neu yn eu gwrthod. Ac os chwanegaf finnau ychydig eiriau, bydd-

---

* Ond da fydd lai cofio, a chydnabod hyn hefyd; trwy ba bechodau bynag neu trwy gam-ddefnyddiad o ba roddion bynag, y gwna dynion *eu trueni yn fwy*, nad oes i ni farnu mai ffrwyth o waed Crist, neu "o lafur ei enaid ef," ydyw hyn, na dim o'r hyn sydd gan y cyfryw, tra y maent yn *felldigedig* yn y cwbl oll. Yn *heddychiad* pechaduriaid â Duw, a'u *sancteiddiad* canlynol, y mae effaith gwaed Crist i'w weled, ac nid mewn dim sydd lai; tra y mae hefyd *bob peth*, o roddion Duw yn ddilynol i hynny, yn wir fendithiol, trwy rym ac effaith yr un gwaed. Gwir ffrwyth y gwaed hwn yw cymmod, cyfiawnder, heddwch, cymdeithas â Duw, a diogelwch hyd byth. (*Rhuf.* 5. 9, 10. ac 8. 28. 1 *Cor.* 3. 22. *Eph.* 2. 13. *Col.* 1. 20, 21, 22. *Heb.* 12. 24. a 13. 12. 1 *Pedr* 1 2, 19. *Datg.* 5. 9.) Ac, am *drueni* y rhai a'i sathrant, neu y newydd da am dano, megis dan eu traed, nid y gwaed, na ffrwyth y gwaed, ond drygioni dyn yn ei *wrthodiad* o hono, sydd yn peri hynny.

ed hynny mewn ymgais am eglurhâd mwy, fel hyn; Y mae y *cynnygiad* o Grist yn rhodd, neu fraint fawr iawn, a fyddai, er bendith, a bendith dragywyddol i'r rhai oll sydd yn clywed yr efengyl, pe ni byddai i laweroedd o'r cyfryw wrthod y cynnyg. Ond lle y byddo hyn yn bod, yna, os gelwir y cynnyg yn *fendith*, rheidiol yw ystyried y fath air a hwn hefyd; "Oni wrandewch, mi a felldithiaf eich bendithion chwi," &c. (*Mal.* 2. 2. a'r gwersi a bennodwyd yn agos i ddechreu y Sylwadau hyn.)

Mi a ddymunwn i J. R. yn ddwys ystyried, ai nid yw y ddau neu dri phwngc canlynol yn naturiol i'w casglu oddiwrth gynnwysiad ei ddau Lythyr, os nid yn sylwedd pènaf ynddynt?

1. *Fod "perthynas rhwng gwaed Crist" â miliynau lawer o bobl, sy'n byw ac yn marw heb Grist, ac heb un rhan yn ei waed!!*

2. *Mai rhannau o ffrwyth llafur enaid Crist, y Prynwr, ydyw cael rhannu rhoddion gwerthfawr, a bendithion tymmorol, i'r rhai y gŵyr efè eu bod yn byw, ac y byddant feirw, yn elynion iddo; a chael hefyd ogoneddu llywodraeth Duw, fel y bydd yn ymddysgleirio yn nghosp y rhai anufudd i'r efengyl!!*

3. Ai nid yw efe, yn *tu dal.* 6. yn ceisio ynnill ei ddarllenwyr i farnu (oddiwrth 2 *Cor.* 5. 14, 15. 1 *Tim.* 2. 6. *Heb.* 2. 9. a 1 *Ioan* 2. 2.) fod Crist wedi marw *dros*, neu, *yn lle*, holl bechaduriaid y byd, ac, yn *tu dal.* 12, 13. (oddiwrth *Col.* 1. 14——20) fod holl bechaduriaid y byd wedi cael eu *cymmodi â Duw*,

neu, o leiaf, wedi cael *rhyw fath o gymmod*, a all efe etto ei eglurhâu yn well i ni?

Mi a obeithiaf na ymddengys un o'r rhai'n yn bwngc dymunol a chywir yn ngolwg J. R. ei hun; tra yr wyf gyd â dwysder, yn dywedyd, Nad wyf yn medru deall, fod y fath gasgliadau a'r rhai'n yn an-nheg, neu anghywir, oddiwrth bethau sydd i'w gweled yn ei lyfryn hwn. Ac, o gyd-ystyried sylwedd ei waith, *âg egwyddorion cyffesedig yr Independiaid*, O! "Pa fodd y tywyllodd yr aur! "y newidiodd yr aur coeth da!" Rhodded yr Arglwydd i ni "ddeall da yn mhob peth:" Efe a'n dysgo, i garu gwirionedd a heddwch.

Bellach, mi chwanegaf fi at fy sylwadau ar y ddau Lythyr hyn; ond, fel crynöad byr; Tra yr wyf yn addef fod ynddynt amryw bethau cywir a da, yr wyf hefyd yn galaru wrth feddwl fod ynddynt y pethau beius a nodais, gydâ rhai yn ychwaneg o'r fath; y rhai nid ydynt yn gydsyniol â gair Duw, nac â'r athrawiaeth am *brynedigaeth neillduol*, a addefwyd er's llawer blwyddyn gan *Gymanfa lïosog ac enwog o Weinidogion a Blaenoriaid boreuol yr Independiaid*, sef y Corph y mae J. R. yn gweinyddu yn eu mysg. Er prawf o hyn, yr wyf yn chanegu,

*Rhannau byrion allan o* GYFFESIAD *yr Eglwysi Cynnulleidfäol yn Lloegr, y cyttunwyd arno, yn eu Cyfarfod, yn y* SAVOY, *Hydref* 12*fed*, 1658.

Pen III. *Am Arfäeth Duw.*—6. "Megis y mae Duw wedi appwyntio yr etholedigion i

ogoniant, felly y mae efe, trwy gynghor ei ewyllys tragywyddol a pherffaith rydd, wedi rhag-ordeinio yr holl foddion tu ag at hynny. Ac felly, am *y rhai etholedig*, gan eu bod yn rhai syrthiedig yn Adda, *y maent wedi eu prynu gan Grist*, yn cael eu galw yn effeithiol i ffydd yn Nghrist, trwy ei Yspryd yn gweithio mewn iawn bryd; y maent yn cael eu cyfiawnhau, eu mabwysiadu, eu sancteiddio, a'u cadw, gan ei allu ef, trwy ffydd i iachawdwriaeth. *Ac nid oes neb rhai ereill wedi eu prynu gan Grist*, neu yn cael eu galw yn effeithiol, eu cyfiawnhau, eu mabwysiadu, eu sancteiddio, a'u cadw, ond yr etholedigion yn unig."

Pen. VIII. *Am Grist, &c.*—"Rhoddodd Duw, er tragwyddoldeb, iddo ef *bobl i fod yn had iddo, ac i gael mewn amser eu prynu ganddo,*" &c.

8. "*Y rhai hynny oll, i ba rai y pwrcasodd Crist brynedigaeth, y mae efe yn sicr, ac yn effeithiol, yn cymhwyso ac yn cyfrannu yr unrhyw iddynt,*" &c.

Pen. XI. *Am gyfiawnhâd.*—4. "Y mae Duw, er tragywyddoldeb, wedi bwriadu cyfiawnhau yr holl rai etholedig, a Christ yn nghyflawnder amser, *wedi marw dros eu pechodau hwynt*, ac adgyfodi er eu cyfiawnhâd: Er hynny nid ydynt yn cael eu cyfiawnhau yn bersonol, hyd oni b'o i'r Yspryd Glân, mewn iawn bryd, yn weithrediadol gymhwyso Crist atynt."

Da fuasai gènyf roddi lle i rannau helaeth—'r Gyffes ragorol hon, ac o *Gatecism*

*Westminster* hefyd, sydd o'r un tuedd, ar y pwngc hwn, a'r canghenau ereill o athrawiaeth efengylaidd. Ond, yn fyr, ac i benderfynu, rhoddaf etto le i ychydig ymadroddion, ar y pwngc sy dan ein hystyriaeth, allan o *Gorph Duwinyddiaeth*, gan y *Dr. Lewis*, yn bresennol o *Lanfyllin*.

O'r *tu dal.* 164, hyd 175, y mae ganddo lawer o ddadleuon gwir Ysgrythyrol, o blaid y pennau pwysfawr sy'n canlyn. "*Y mae Mab Duw wedi rhoddi ei hun dros ei eglwys,—wedi prynu eneidiau,—wedi llwyr-brynu ei bobl,—wedi prynu eneidiau trwy roddi pridwerth drostynt:—trwy waed Iesu Grist fel pridwerth dros bechaduriaid, y mae yr euog yn cael ei adferu i heddwch a Duw.*"—Yn *tu dal.* 172, y mae yn ystyried y gofyniad, "*Dros bechodau pwy y mae Crist wedi rhoddi iawn,*" ac yn ei ateb, gan roddi dehongliad, sy'n gyson â'r Ysgrythyrau ereill, ar aml wers a ddefnyddiwyd yn fynych at *geisio profi* mai i "ddybenion cyffredinol" y rhoddodd Crist ei hun yn Iawn. Ar hyn, medd efe, "Pe byddai y cyfryw rannau o'r Ysgrythyr i'w cymmeryd yn eu *hystyr helaethaf*, ni a ddywedem fod Crist wedi rhoddi iawn dros y rhai a fyddant yn druenus, yn gystal a thros y rhai a fyddant yn gadwedig i dragywyddoldeb."

Yn *tu dal.* 173, 174, 175. y mae'n ymhelaethu, ar yr ystyriaethau canlynol, at ddangos, "Na ddarfu i Grist roddi iawn ond *dros rai*, hyny yw, yr etholedigion, yn unig.—1. *Ni ddarfu i'r Tad ddim rhoddi pawb i'r Mab, ond*

*rhai yn unig allan o'r byd,* Ioan 7. 2. 6. &c.—2. *Y mae y rhai y bu Crist farw drostynt yn cael eu gosod allan tan amrywiol enwau, y rhai sydd yn eu gwahaniaethu oddiwrth ereill:*——megis, *ei eglwys,—ei gyfeilkion,—y defaid,* &c.——3. *Y mae marwolaeth Crist yn brawf o'r cariad mwyaf tu ag at y rhai y bu farw drostynt.*——4. *Y mae Crist wedi dyoddef yr hyn oedd ddyledus i'r rhai y bu efe farw drostynt.*——5. *Nid yw Iesu Grist ddim yn ymddwyn fel pe buasai* wedi marw dros bawb yn gyffredinol;"—Efe a ddywed, "Nid dros y byd yr wyf yn gweddïo, ond dros y rhai a roddaist i mi." *Ioan* 17. 9.——6. *Bydd i holl ddybenion marwolaeth Crist gael eu hatteb.*"

Trwy brofion gwir Ysgrythyrol ar y pennau hyn, y mae'r Dr. Lewis yn gwrthbrofi y tyb Morganaidd, Arminiaidd, a Phabaidd, am *brynedigaeth gyffredinol,* ac hefyd holl sylwedd y dadleuon sy gan J. R. o blaid y golygiad am "*drugareddau tymhorol*" yn dyfod i holl ddynol-ryw "*ar hyd llwybr y gwaed,*" (tu dal. 4.) ac am y "*dybenion cyffredinol*" (tu dal. 16.) y mae efe yn ceisio eu hamddiffyn yn ei Lythyrau &c; fel pe byddent yn berthynol i'r pryniad trwy Grist; yr hwn a'i rhoddodd ei hun, *dros ei eglwys, neu dros bawb oll, Iuddewon a chenedloedd, a ddygwyd, neu a ddygir i gredu ynddo.*—

Am danaf fy hun, yr wyf yn gweled ei bod yn bryd i mi ystyried, nad yw gŵg na gwên, boddhâd nac anfoddhâd dyn, ond pethau bychain iawn i mi, sydd ar gyffiniau tragywyddol-

fyd, ac mor agos i ymddangos o flaen brawdle goruchel Duw. Ac, os wyf yn fy adnabod fy hun, ymgais o blaid ei wirionedd gwerthfawr ef, ac i'w amddiffyn *ar ddeheu ac ar aswy*, a barodd i mi ysgrifenu y Sylwadau hyn, y rhai canlynol, ac oll o hyn o lyfryn. Yr wyf yn ofni hefyd, fod Llythyrau J. R. wedi bod er gŵyrad i farnau rhai, er tramgwydd i ereill, ac yn achos o gryn derfysg ac ymraniad yn Nghymru; a'u bod i ereill, er tristâad i amryw o rai gwir dduwiol, ac er llonniad llygredig i gryn lawer, nad oes achos i mi eu henwi, na'u darlunio. O herwydd hyn mi a ddymunwn iddo gael ei argyhoeddi, a'i ogwyddo i'w galw yn ol, ac iddo ef, gyd âg amryw ereill, etto sefyll yn gywirach, *efo eu hen frodyr a'u tadau*, yn mhob cangen o'r "athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb," ac yn perthyn mor agos i rym duwioldeb.

---

*Sylw-nod sy'n perthyn i tu* dal. 123. llin. 20. *dan y gair perthynas:*

Y mae perthynas hefyd rhwng Mab Duw a'r greadigaeth a'r creaduriaid oll, fel eu Crewr, eu Cynnaliwr, a'u Perchen; a rhyngddo a phawb o ddynol-ryw, ïe, a'r angylion, da, a drwg hefyd, fel eu Llywydd a'u Barnydd cyfiawn. Ond peth arall, mi a feddyliwn, ydyw tybied fod *perthynas rhwng gwaed Crist* a phechaduriaid sy'n byw ac yn marw, ïe, yn marw *byth*, dan ei wrthod, ac *am* ei wrthod, neu, heb feddu *na rhan na chyfran* ynddo. Ac, am y *berthynas* sydd rhwng Crist, y Prynwr, neu waed y Prynwr, a'r rhai oll a wir-gredant ynddo, ai ni ddywaid J. R. ei hun, ei bod yn *berthynas* a bery byth, ac er iachawdwriaeth dragywyddol, i'r rhai oll a ddygir i mewn iddi?

# SYLWADAU

(O'R UN TUEDD A'R YMDDYDDANION II. III. IV.)

*Ar rai pethau sydd i'w gweled mewn Traethawd o eiddo Mr. Christmas Evans, o Fôn, ac a gyhoeddwyd ganddo, ychydig flynyddoedd yn ol, ar* Neillduolrwydd y Prynedigaeth.

YN lled ddiweddar y bu i mi ddal sylwdwys ar Draethawd Mr. C. E. ar *Neillduolrwydd y Prynedigaeth,* er ei fod wedi ei gyhoeddi ganddo yn y flwyddyn 1811; ac wrth graffu ar *rai pethau* sydd ynddo, yr wyf yn addef nad ydynt yn ymddangos i mi fel "pethau a weddai i athrawiaeth iachus," ond eu bod yn bethau a ddylent gael eu pennodi, eu gwrthbrofi, a'u gwrthod gan Eglwys Crist; a hynny gyd âg ofn a dychryn, yn tarddu oddi ar wir gariad a pharch i Grist. Nid wyf yn dywedyd fel hyn am y Traethawd oll, nac am y rhan fwyaf o hono, ond am *rai o'r ymadroddion* sydd ynddo, ac yn y rhei'ny am *un golygiad* sydd i'w weled yn gŵyro (mi a feddyliwn) oddiwrth y wir athrawiaeth am Brynedigaeth Neillduol; a hynny am ei fod yn gŵyro oddiwrth yr iawn addefiad o *werth annherfynol aberth Crist.*—Am hyn yr wyf yn ei chyfrif yn ddyledswydd arnaf i sylwi ar amryw o'r cyfryw ymadroddion.

Yn *tu dal.* 13. o'r Traethawd, y mae ei awdwr yn dwyn *Neillduolrwydd y Prynedigaeth* o flaen ei ddarllenwyr, fel y canlyn:

"Mae pedwar peth i'w hystyried:———1. "*Mawredd y Person oedd yn prynu*, yr hwn "oedd yn wir Dduw.——2. *Glendid y natur "ddynol*, gwaed yr hon a dywalltwyd mewn un- "deb â'i natur ddwyfol.——3. *Mawredd y dy- "oddefaint yr aeth danynt*. Mae rhai yn medd- "wl fod yn rhaid cael y tri pheth yma, pe bu- "asai dim ond un yn cael ei brynu. Dïammau "nad allasai un llai na Duw brynu un; ac "fod yn rhaid cael natur ddynol, lân, berffaith, "i farw mewn undeb â natur Duw, i brynu "un."

Yr wyf yn cyduno â sylwedd y golygiad sydd yma; ac ni feiaf ar yr ymadroddiad, gan na chwennychwn ddal sylw ond ar feiau o bwys.—Geiriau nesaf C. E. ydynt fel y canlyn:

"Ond mae yn gwestiwn am y trydydd peth, "a fuasai yn anghenrheidiol fod y dyoddefaint "cymmaint: canys dylai y *pridwerth fod yn "gyfattebol i raddau y beiau*, o ran *rhif, pwys, "a mwyhad.*"

Wrth hyn, y'nghŷd â'r geiriau cyntaf, ai nid sylwedd yr addysg yw, Pe buasai Crist wedi prynu dim ond *un* pechadur, mai trwy ei farwolaeth y buasai raid i hynny fod? ond er hynny, *os* yw efe wedi prynu *llawer iawn* o * *filiynau* o bechaduriaid, mai rheidiol ydoedd bod yn y farwolaeth a ddyoddefwyd ganddo, *lawer iawn*

---

* Nid yw C. E. ddim wedi dywedyd hyn; etto yr wyf yn hyderu na farna efe *nifer* y pryneaigion yn llai, ond yn llawer iawn mwy nâ hyn. Ac os felly, y mae'r dychymyg annoeth yn canlyn yn amlwg.

o *filiynau mwy o ddyoddefaint*, ac o *werth haeddiannol*, nag a fuasai yn y farwolaeth a allasai fod, ac a fuasai yn rheidiol i fod, dros *un* pechadur? Ac ai nid oes yma, tan gysgod " rhif, pwys, a mwyhâd," ddychymyg wedi cychwyn yn rhy annoeth a gorwyllt?—Ond, medd C. E. yn ei eiriau nesaf,

" Yr oedd Aaron yn *rhifo pechodau, gan " gyffesu holl anwiredd meibion Israel, a'u holl " gamweddau hwynt yn eu holl bechodau;" "* (Lef. 16. 21.)

I hyn mi a atebaf, Nid oes dim sôn am *rifo pechodau*, yn Lef. 16, 21, nac mewn un lle arall yn y Bibl, ar yr achos hwn. Dylem edrych yn ofalus, a gwylio yn ddwys, rhag i ni osod ein dychymygion ein hunain yn lle gair Duw. Ac, am y **Gyffes* a arferai yr arch-offeiriad ar yr achos, (fel y mae i'w gweled gan *Ainsworth*, ac awdyr ereill) un gyffredinol ydoedd, o'*holl anwireddau Israel*, heb henwi un, nac un math, o'u pechodau, a llai o lawer *eu rhifo*. A pha un o honynt a allasai *rifo* ei bechodau ei hun, heb sôn am bechodau yr holl genedl?

Ond y mae C. E. yn chwanegu am fanyldra y cyffesiad hwn: ei eiriau nesaf ydynt,— " megys o ran rhif a phwys, yn ol trefn rhif- " yddiaeth a phwysedigaeth. Gan fod yr Ys- " pryd Glân yn arfer y fath eiriau i osod allan

---

* Yn *oesoedd cyntaf* goruchwyliaeth Moses, yr oedd Cyffes flynyddol yr archoffeiriad yn darddiad o'i ystyriaeth a'i fyfyrdod dwys ef ei hun. Wedi hynny, *tros amryw oesoedd*, hwy (yr archoffeiriaid) a arferent *Gyffes ysgrifenedig*.

"ei bethau mawrion, ni ddylem ni eu gwrth-
"od," &c.

I hyn gallaf ateb, Gan *nad ydyw* yr Yspryd Glân wedi arfer y fath eiriau a *rhifo pechodau Israel, &c.* nac yn ein dysgu yn ol y fath drefn o "rifyddiaeth a phwysedigaeth," na fydded i ni osod ein tyb a'n trefn ein hunain, yn lle ei air a'i drefn ef.—Ychydig y'mlaen ni a gawn hyn;

"*Fod cyfiawnder yn galw am gosp fwy*, a "dangosiad o anfoddlonrwydd mwy, mewn "trefn i gael iawn am y *pump cant ceiniog, yn* "*fwy na'r deg a deugain*. Mae graddau mewn "pechodau: mae rhai fel *porphor* ac *ysgarlad*. "Ni fyddai achos, fe allai, yn ol cyfiawnder, i "fod y dyoddefaint cymmaint i wneyd iawn "dros blentyn bach, a thros Saul o Tarsus." —Tebyg i hyn yw yr hyn a gawn yn *tu dal* 15; fod rhai, yn uffern, "yn cael eu curo â mwy o "*ffonnodiau*, ac ereill â llai;" yn ganlynol, "Fod Crist wedi dyoddef mwy dros rai o'i "bobl na'u gilydd."——I hyn atebaf,

Yr wyf finnau yn addef, y cawn ddangosiad yn ngair Duw, fod graddau mwy a llai, mewn pechodau; ac hefyd fod graddau mwy a llai, yn y gosp am bechod yn uffern. Etto cofier, mai creaduriaid terfynol o ran eu gwerth, a gwerth eu taliad *(pe byddai yn daliad)* sydd, yn uffern, yn dyoddef bob un *ei gosp am ei feiau ei hunan*, neu yn cael eu gofyn, yn llwyr gyfiawn, a hynny yn ol graddau a phwys eu beiau ond *heb dalu dim hyd byth!* Ac wrth ystyried creaduriaid euog, gelynol, a gorwael, na allant dalu dim o'u dyledion, na dyoddef byth hyd:

ddilëad ar *un* o'u pechodau, pa gyffelybrwydd, neu sail i gymhariaeth, a ddichon fod, yn y matter a'r achos goruchel hwn, rhyngddynt hwy a'r Person goruchel, dwyfol, a pherffaith, yr hwn y cafodd y gyfraith ei hanrhydeddu ganddo, a'r Tad ei foddloni ynddo, a hyn oll mewn yspaid byr, ac megis ar unwaith, am byth?—Yr wyf y'mhellach yn dadleu yn erbyn y casgliad, "*Fod Crist wedi dyoddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd:*" O herwydd,

*Yn gyntaf*, Mi dybygwn nad oedd *iddo, nac ynddo ef*, achos am hynny; o herwydd ei fod yn dyoddef, ac yn talu, drostynt oll *ar unwaith*, ac nid trwy roddi megis ar y bwrdd *amryw symiau, mwy a llai, tâl mwy tros un, a thal llai tros un arall*, (y rhai ni thalasent ddim ychwaith yn y gorchwyl anfeidrol hwn,) ond trwy ei offrymu *ei hun*, a hynny *unwaith*. Ac onid fel *un swm*, a dim ond *un swm anwahanol, anfeidrol, a hollol annherfynol ei werth*, y mae i ni edrych ar y cwbl oll a wnaeth, ac a ddyoddefodd Crist, fel Duw-ddyn, neu ddyn mewn undeb â Pherson dwyfol? Mi a feddyliwn mai mewn modd sy'n tueddu i fagu'r golygiad hwn ynom, y mae geiriau Duw yn gosod y peth o'n blaen; megis, "*ufudd-dod un—cyfiawnder un—ei farwolaeth—ei waed——ei* "groes—ei aberth—a'i iawn ef," &c. &c. Mae yn ei ufudd-dod ef *werth ac urddas annherfynol a dwyfol*, gan mai Person dwyfol, mewn undeb â dynoliaeth bur, oedd yr hwn "a ddyoddefodd yn y cnawd, a fu'n ufudd hyd angau, ac a berffeithiwyd trwy ddyoddefiadau." A'r

gwerth sylweddol hwn, mi dybygwn nad oes dim *gwahan-rannu* i fod arno; ond mai cymhwys a rheidiol yw i ni feddwl am *holl fawredd y Person, a'i holl ufudd-dod perffaith*, yn gysylltiedig a chyfan-unol, ac felly yn anwahanadwy, o ran y matter a'r achos hwn, sef, o ran cyrhaedd y dyben o'i fod yn iawn addas a digonol, *tros un, neu chwaneg, tros ryw nifer, pa un bynug ai bychan, ai aneirif fawr, o bechaduriaid.* Mawredd y Person heb ei ufudd-dod perffaith hyd angau'r groes, neu yr ufudd-dod perffaith heb fawredd y Person, ni allasai fod yn iawn, nac yn bridwerth digonol, dros *un pechadur*. Ond trwy y cysylltiad a'r cyfuniad o fawredd yr ufuddhäwr, a pherffeithrwydd yr ufudd-dod, y mae derchafiad a mawrhâd anfeidrol i fri, urddas, a gwerth ei farwolaeth ef: y mae ynddi werth mor fawr, na fedr neb ond y Jehofa ei hun ei fesur, na'i amgyffred. ("Nid edwyn neb y Mab, ond y Tad," *Math.* 11. 17.) Y mae mawredd gwerth y farwolaeth hon, meddaf, nid fel y môr, neu foroedd mawrion y grëadigaeth, ond yn dra phell tu hwnt i hynny, yn ol pellder mawredd dwyfol tu hwnt i waeledd creadigol. Neu os bydd i ni, yn ol ein hamgyffred bychan, ei chyffelybu i fôr, bydded yn *fôr anfesuradwy*, heb waelod na therfyn iddo, ac felly yn ddigonol i guddio y mynydd mwyaf, yr un modd a'r telpyn lleiaf, neu i beri dilëad i'r pechodau mwyaf, fel y rhai lleiaf. Y cyfryw fôr yn ddïau, a chyflawn ei gynnwysiad anchwiliadwy, ydyw y cyflawnder dwyfol sydd yn

Nghrist, neu yn ei aberth, o ran *ei werth hanfodol ynddo ei hun*. Matter arall yw *ei osodiad trwy gyfammod, a'i ymroddiad ymostyngol ef*, o'i ras (o'i ryfedd ras!) i fod yn Fechnïydd, yn dalwr dyled, yn aberth ac yn iawn, *dros ei eglwys*, ac felly yn Brynwr ac Achubydd iddi hyd byth. Yn môr ei deilyngdod ef y bu'r claddiad haeddedigol, ar unwaith, "mewn un diwrnod," (*Zec*. 3. 9.) i holl bechodau pob un o'i bobl; er mai o oes i oes, o ddydd i ddydd, ac (o ran personau) o un i un, drachefn a thrachefn, y mae'r fendith yn ei rhinwedd brofedig a chymhwysiadol yn eu cyrhaedd hwynt. Yr un peth a gostiodd i Grist fod ganddo fodd i faddau i'r pechadur lleiaf, a'r mwyaf; a chyd â'r un rhwydd-der y mae efe yn maddau i'r naill, ac i'r llall, i'r dyledwr o "bum can ceiniog, ac i'r un nad yw ei ddyled ond "deg a deugain," (*Luc* 7. 41.) er croes-ddadleuad rheswm cnawdol; hefyd, er y dichon ofn a dychryn pechadur argyhoeddedig ddywedyd yn groes i hyn; ac er y bydd i brofiad o faddeuant beri i'r pechadur mwyaf anferth, garu yn fwyaf gwresog. (*adn*. 47.) Gwirionedd a dirgelwch dwyfol ydyw, mai â'r un ufudd-dod, gweithredol a dyoddefol, neu â'r un gwaed a'r un farwolaeth, nid â llai, nac â mwy, (*mwy* nid oedd modd i fod!) y darfu i Grist brynu *pob rhyw un* o aelodau ei wir eglwys, a'r *corph cyfan* o honi hefyd, "yn dyrfa fawr, na ddichon neb ei rhifo!" (*Datg*. 7. 9.)

Gan hynny, mi a feddyliwn mai dychymyg, neu dyb, heb achos am dano, a llwyr anaddas

hefyd, ydyw'r meddwl, "*Fod Crist wedi dyoddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd.*" Na fydded i'r fath dyb gael derbyniad gan neb o ddynol-ryw.

*Yn ail*, Nid oedd modd i hyn fod: O herwydd, nid oes i ni sail i feddwl am ddim llai nâ'r *cyfan* o farwolaeth Crist yn ddigonol "*i brynu un.*" Y mae hyn, mewn sylwedd, yn cael ei addef gan C. E. ei hun, yn ei eiriau a roddwyd ger bron: ac ni a'i cawn ef etto (*tu dal.* 17.) yn dywedyd, "Nid oedd eisiau gwaed o fwy ei rinwedd" [neu o rinwedd mwy] "i brynu pawb, nâ'r gwaed a brynodd lawer." Gwirionedd tra sicr a phwysfawr ydyw hyn: Ond os bydd i ni er hyn farnu, (yn ol ystyr geiriau ereill o eiddo C. E. y rhai a ddangoswyd o'r blaen,) fod Crist wedi myned tan ran lai o'i ddyoddefaint "i wnëyd iawn dros blentyn bach, na thros "Saul o Tarsus," yna, (yn lle bod Crist, a rhinwedd ei waed, yn *rhan*, yn *rhan gyfan*, meddaf, i bob credadyn,) y canlyniad yw, mai *rhan* o *Grist, a rhan o'i ddyoddefiadau*, sydd dros, ac i, bob un o'i eiddo. Ond, "A rannwyd Crist?" (1 *Cor.* 1. 13.) Na ddo: Etto y mae hyn yn rhy debyg i ddyfais am ei rannu! Ac, yn ol y tyb hwn, er fod "Saul o Tarsus" yn bechadur anferth, ai ni allai efe feddwl, a dywedyd, (mewn golygiad gobeithiol ar luoedd aneirif y gwaredigion,) na ddyoddefodd ei Fechnïydd a'i Brynwr ond llai o lawer iawn *nâ'r ddeg-can-filfed ran* o'i boenau drosto ef? ïe, a llai nâ'r *filfed* ran o hynny? I hyn yn ddiau y mae tuedd a rhediad y tyb!! Ac i ba

raddau yn îs, neu lai nâ hynny, y byddai i bob troseddwr neu ddyledwr llai, ac i bob maban bach, "yn ol trefn rhifyddiaeth a phwysedigaeth," (a osodwyd gan C. E.) ddatgan *y rhan fechan iawn* o glwyfau a doluriau ei Brynwr, a ddyoddefwyd drosto yntau? Och! rhy waelwrthun yw y fath ddychymygion. Gwell o lawer yw yr hyn a ddysgwyd i "Saul o Tarsus," neu ynte i Paul yr Apostol, gan ei Brynwr: trwy y ddysg honno, efe a ddywed am dano, "Yr hwn a'm carodd, ac a'i dodes *ei hun drosof fi*. (Gal 2. 20.) Ac onid fel hyn, yn groyw, y dywaid pob un o'r rhai lleiaf eu dryg-foes, a phob maban hefyd, wrth gael golwg ar yr hwn a'u carodd, ac a'u golchodd oddiwrth eu pechodau, "yn ei waed ei hun?" (*Datg.* 1 5.) Ni bydd, o fewn i byrth gogoniant, *un* yn gallu hepcor dyferyn o waed Crist, (sef, o rinwedd ei ddyoddefiadau *dwyfol* eu gwerth,) neu yn tybied mai *rhyw ran* o'i ddyoddefaint a wnaeth y tro i'w achub ef. Ac fel y mae'r cwbl oll o Grist, yn mawredd ei Berson, ac yn ngwerth a rhinwedd ei aberth, wedi ei roddi *dros bob credadyn*, ac yn yr un modd, ac yn yr un dydd, *dros gorph cyfan ei eglwys*; felly, y mae efe yn rhan gyfan a chyflawn, yn ei gyflawnder dwyfol, *i bob un* o'r cyfryw, o fewn i'r nef a'r ddaear. Yr eglwys, a phob aelod o honi, a ddywaid, "Yr Arglwydd yw *fy rhan i* medd fy enaid."

*Yn drydydd*, Os dyoddef "*llawer o ffonnodiau*" dros rai, ac "*ychydig o ffonnodiau*" dros ereill, (neu boenau trymach yn achos pechodau

rhai, ac ysgafnach yn achos y lleill) "yn ol rhif, pwys, a mwyhâd" beiau ei bobl, a wnaeth Crist, (ac yn ol yr hyn a gawn gan C. E. yn *tu dal.* 13, a 15,) paham na ellid tybied a dywedyd yn yr un fath *fodd rhannedigol* am ei ufudd-dod gweithredol ef hefyd? ac felly, ei fod wedi ufuddhau i'r ddeddf yn fwy, neu dros amser hŵy, "tros rai o'i bobl na'u gilydd?" Mi a obeithiaf na wna neb farnu fel hyn.——

Crybwyllaf (mewn gofyniad byr) hefyd, os oedd y fath gyd-bwysiad manwl i fod rhwng yr Iawn a'r pechodau y rhoddwyd ef drostynt, ai nid yw'r golygiad yn arwain i ddychymygu am yr un fath werth cydbwysol yn ei Berson ef, a holl bersonau y prynedigion? neu ynte, o leiaf, fod *rhan fwy* o'i fawredd personol (gan mai "*Efe yw'r iawn*") wedi myned "dros rai o'i bobl na'u gilydd?" Ond och! digon am hyn! Na adawer neb o honom i ddilyn ein dychymygion ein hunain, yn enwedig i ddyfeisio *tybiau newydd*, yn ol dysg rheswm dynol, am Dduw a'i Grist.

Yn agos i ddechreu tu dalen 14, ni a gawn gan C. E. fel y canlyn:——" Wrth ystyried " anfeidroldeb Person Crist, oni ellir dywedyd, " er cymmaint o *raddau o anfeidroldeb* a ddy- " oddefodd, y gallasai *ddyoddef ychwaneg*; ïe, " digon dros *yr angylion syrthiedig* hefyd?"

Y mae yma ymadroddion rhyfedd, a dyrus ryfedd i'm golwg i: Ond gan fy mod wedi ymhelaethu ar y geiriau, *anfeidrol*, *anfeidroldeb*, *annherfynol*, &c. ac hefyd am y *dyoddef ychwaneg*, ni ddywedaf yma ond hyn (heblaw y sylw-nod

isod) os oedd *anfeidroldeb, a graddau* * *cymmaint* o hono, yn nyoddefaint y fath Berson anfeidrol, yna, oni ellir dywedyd, mai llwyr afreidiol ac anaddas ydoedd sôn, na dychymygu, am iddo *ddyoddef*, neu *allu dyoddef ychwaneg?* a'r *dyoddef ychwaneg* (mi dybygwn) i chwanegu at ei ddigonedd, neu at werth ei ddyoddefaint, yr hwn sydd eisoes yn *anfeidrol!* Ac, am y dywediad, "y gallasai ddyoddef digon dros yr angylion syrthiedig, ac yfed eu "cwpan hwy, yn gystal a chwpan ei bobl yr "oedd yn ben iddynt," y mae anghywirdeb neu anaddasrwydd ynddo: O herwydd, cyn i'r Person anfeidrol fod yn *addas* i achub angylion syrthiedig, buasai yn rheidiol iddo fod yn

* Nid wyf yn gallu cymmeradwyo yr ymadrodd hwn, sydd yn eiddo C. E. ond yn barnu mai anghyson ac anaddas ydyw sôn, neu feddwl, am *raddau* yn perthyn i *anfeidroldeb*, yn ol ystyr cyflawn a llythyrenol y gair. Os arferir ef yn ei iawn a'i lawn ystyr, y mae mor bell oddiwrth fod *graddau* ynddo, (megis *llai a mwy*, neu fodd i beri *chwanegiad ato*,) ag ydyw *byth, bytholrwydd, tragywyddolrwydd, tragywyddoldeb, hollwybodaeth*, neu *hollalluogrwydd*. Onid tra annoeth, os nid gwaeth, fyddai dywedyd, fod *graddau* o dragywyddolrwydd, o hollwybodaeth, neu o hollalluogrwydd, yn perthyn i Dduw, neu i Grist? Rhy debyg i hynny yw, neu fyddai, sôn am *raddau o anfeidroldeb*, yn enwedig, os mewn golygiad a fo'n tueddu at ddysgu, fod y cyfryw *raddau* yn perthyn i *werth hanfodol* gwaed neu ddyoddefaint Crist!! A phaham yr anturia, neu y rhyfyga, neb i sôn, na dychymmygu, am un math, na gradd, o chwanegiad at bwys na meithder ei ddyoddefaint ef, oni b'ai fod ganddo sail i gredu, ac i brofi, y buasai felly fodd i beri *chwanegiad at anfeidrol, annherfynol, a dwyfol werth ei aberth a'i waed?* A phwy a fedr ddangos ei brawf am *y fath dyb a hwn*, a fyddai yn fwy addas ei letty yn uffern, y lle y daeth o hono, nag o fewn i fynwes un Cristion?

Ben mewn cyfammod drostynt, a chymmeryd eu naturiaeth hwynt; yr hyn ni wnaeth efe, (*Heb*. 2. 16.)

Oddi yma hyd *tu dalen* 16, y mae gan C. E. rai ymadroddion o'r un tueddiad a'r rhai yr wyf wedi sylwi a beio arnynt; er hynny, yr wyf yn myned heibio iddynt, rhag gormod meithder: Ond yno y mae'n dyfod at y

" Pedwerydd peth perthynol i Brynedig-
" aeth,——sef undeb rhyngddo" [ef, y Pryn-
" wr] " â'r rhai yr oedd yn dyoddef, fel eu Pen
" hwy. Mae gosodiad dwyfol yn perthyn i'r
" dyoddefaint, fel y byddai y pridwerth yn cael
" ei roi dros blant y cyfammod," &c.

Yr wyf yn gydsyniol â hyn, a chynnwysiad y llinellau canlynol, ac â'r gwahan-bwngc (*paragraph*) nesaf, lle y beiir ar rai, a olygant, " Nad oes un neillduolrwydd" [yn y prynedigaeth] " ond ym moddlonrwydd pen-arglwyddiaethol " Duw, gyd â golwg ar y *cymhwysiad* o hono." ——Yr wyf finnau hefyd (yn y *cyntaf* o'r Ymddyddanion hyn ar Brynedigaeth, a'r Sylwadau cyntaf) wedi ceisio dangos fod ynddo neillduolrwydd, mewn arfaeth a gosodiad cyfammodol a thragywyddol, heblaw yn y cymhwysiad o hono, mewn amser. Ond ychydig y'mlaen (yn *tu dal*. 17.) ni a gawn hyn;

" Dywed rhai, " nad oes achos gofyn dros
" bechodau pwy y dyoddefodd, gan ei fod yn
" ddigon dros yr holl fyd." Nid digon i'w
" hachub; canys ni achubir pawb: ond rhyw
" ddigon arall, anaddas i'w brïodoli i waed y
" cyfammod."

I hyn mi a atebaf, mai nid anaddas, ond cwbl addas, yw priodoli i waed Crist werth dwyfol, annherfynol, a digonol, *o ran ei wiwdeb ynddo ei hun*, i achub yr holl fyd, neu filoedd o fydoedd; etto, gan gofio mai gwaed y cyfammod ydyw, ac mai yn ol arfaeth a chyfammod y Personau Dwyfol y mae wedi ei roddi, a'i dderbyn; yn ganlynol, ei fod yn waed cyfammodol, ac effeithiol, dros ei wir eglwys yn unig: Yn hon y bydd i Grist, yn ol ei gyfammodiad gwirfoddol a grasol, weled o lafur ei enaid, a *chael ei ddiwallu:* (Esay 53. 11.) ac anwireddau hon, yn ol yr un cyfammod, a roddwyd arno ef. (*adn.* 5, 6, 8.)—Ond medd C. E. yn nesaf,

"Yr ydym yn barod i gyfaddef fod gwaed "Crist ynddo ei hun o'r fath werth anfeidrol, "yn tarddu *o ddwy ffynnon:*——yn gyntaf, "*mawredd ei Berson, a mawredd y dyoddef-* "*aint a ddyoddefodd*;"—

Da iawn yw hyn; ac am *y ffynnon gyntaf*, mi dybygwn wrth ranniad y geiriau. Ond pa beth yw y ffynnon arall? Neu ynte, pa beth arall a ellir ei gael, i wneuthur y *gwerth anfeidrol* hwn i fynu? Hyspysir hynny i ni yn y geiriau nesaf,—"*a'i anfeidrol allu i oddef mwy, yn gystal a chreu mwy o fydoedd.*"

Och! pa fodd y gall yr anfeidrol allu i *oddef mwy* (a'r *goddef mwy*, yr hyn ni bu erioed, ac ni bydd byth) fod yn rhan, neu *yn un o ddwy ffynnon*, (neu ynte o dair) i beri i waed Crist fod *o'r fath werth anfeidrol ynddo ei hun*? Ai nid drwg iawn y gweddai ei fod gan bob Crist-

ion, na chawsai gwaed Crist fod o werth anfeidrol ac annherfynol, heb y *goddef mwy*, y dihanfodedd (*non-entity*) hwn, i'w osod yn y clorian gyd âg ef? Yn ddïau y mae yma anghysonedd amlwg, ac anfri trwm ar Grist, ac ar ei waed, sydd *wedi ei roddi unwaith am byth*, a thrwy ddyoddefaint cwbl-berffaith. Erioed ni welais, ac ni chlywais am, y fath ddychymyg er chwanegu at ei werth, *yn argraffedig o'r blaen!!*—Ond edrychwn pa beth a ddywaid ei awdwr, yn ei eiriau sy nesaf yn canlyn.

"Nid oedd eisiau gallu mwy i greu rhai newydd" [sef bydoedd newydd] "nag a fu yn "creu" [y bydoedd] "a grewyd; ond yn unig "ei osod ar waith gan ewyllys Duw: felly nid "oedd eisiau gwaed *o fwy ei rinwedd* i brynu "pawb, na'r gwaed a brynodd lawer; ond ei "osod gan ewyllys Duw yn bridwerth; mae "hynny yn anghenrheidiol." (*tu dal.* 17)

Yr wyf o galon yn cydsynio â *hyn: ond yr wyf hefyd yn barnu, fod C. E. yn dra anghydsyniol âg ef ei hun. O herwydd, gan *nad oedd eisiau gwaed mwy ei rinwedd i brynu pawb* (neu bawb oll o ddynol-ryw) *nâ'r gwaed a brynodd lawer*, i ba ddyben y buasai, neu y byddai, y *dyoddef mwy*, neu *ychwaneg*, sydd wedi rhedeg i'w ddychymyg ef, fel matter o werth ychwaneg, neu ddefnydd rheidiol i brynu ychwaneg o nifer, nâ'r nifer a brynwyd? Onid yn ewyllys Duw, cyfammod y Personau dwyfol,

* Sef â golygiad yr awdwr, yn hyn o eiriau, hyd y medraf ei ddirnad. Y mae yma, ac mewn lleoedd ereill, radd o ddiffyg eglurdeb yn yr ymadroddiad.

a'r gosodiad o Grist i fod yn aberth dros ei eglwys, neu ei ddefaid, y mae i ni edrych am y *terfyn gosodedig i effeithiau* neu ffrwyth ei aberth, yn lle ein *bod ni yn rhyfygu gosod terfyn, neu derfynolder, i'w werth hanfodol ynddo ei hun?* O ddiffyg gwahaniaethu mewn modd addas yn hyn, neu rhwng *holl-ddigonolrwydd* aberth Crist, a'r *effeithiolrwydd* sydd iddo, yn ol arfaeth a chyfammod tragywyddol, y mae C. E. (wrth amddiffyn yr athrawiaeth iachus o brynedigaeth neillduol) wedi gŵyro i ddywedyd yn rhy amryfus yn erbyn bri ac urddas y Prynwr, gan *osod terfyn* i weith ei aberth, a dychymygu am y *dyoddef ychwaneg*, fel modd addas i estyn neu helaethu ei derfyn!!—Etto, yn ei eiriau olaf a adroddwyd, yr wyf yn addef ei fod wedi dywedyd yn gywir; a'r un modd am y rhan fwyaf o'i draethawd. Ond gan nas gallaf ddywedyd felly am y cwbl o hono, mi a geisiaf ystyried ychydig y'mhellach ar ambell ymadrodd, heblaw sylwi ar rai pethau yn y tu dalen nesaf, neu o ddeutu hynny (o *tu dal.* 17 ac 18) a osodaf yma ger bron y darllenydd.—Ar ol yr hyn a ddangoswyd yn ddiweddaf, y mae'n myned y'mlaen fel hyn;

"Ni chrëai gallu Duw ddim bydoedd newydd, er ei fod yn abl, heb iddo ewyllysio gosod ei allu ar waith. Ni phrynodd gwaed Crist, er ei *holl-ddigonoldeb*, neb, ond y rhai y gosododd ewyllys Duw ef yn iawn drostynt, yn ol trefn cyfammod."

Gwir iawn yw hyn; ac yr wyf finnau yn

dymuno amddiffyn yr un athrawiaeth.—Ond, medd C. E. yn nesaf,

"Mae tri pheth yn angenrheidiol iddo fod yn iawn dros neb:—1. Urddas personol, yn rhoi cymhwysder i'r gwaith ryfedd anfeidrol.—2. Cyflawniad perffaith o'r gofynion, yn ol y gofyniad gan y ddeddf: nid rhyw beth yn lle hynny, yn llai ei werth, *na mwy ei werth*, ond hynny ei hun.—3. Appwyntiad dwyfol o hono i weithredu felly, dros ychydig neu lawer."

*At.* Er mai cyflawniad perffaith o ofynion y ddeddf a roddodd Crist, etto nid cywir y gwelaf fi y geiriau hyn: ond y mae yn ei ufudd-dod ef, o herwydd ei ddwyfolder, neu ei Dduwdod, ragoriaeth, rhagoroldeb, a gwerth mwy, ie, "mwy o lawer," nâ'r ufudd-dod perffaith a allasai Adda a'i hiliogaeth oll ei roddi, pe buasai efe a hwythau heb bechu; ac anrhydedd "mwy o lawer" i'r ddeddf a'i gofynion, nâ phe buasai i Adda a'i hiliogaeth oll fod byth yn dyoddef ei chosp gyfiawn yn uffern.—Ystyrier *Rhuf.* 5. 15, 17, 20, a phob gwers o'r Bibl, sydd yn datgan Duwdod y Cyfryngwr.

Da fuasai i C. E. fod, yn y matter hwn, yn gydsyniol â'i hen gyfaill, *Mr. Timothy Thomas;* yr hwn a ddywed yn rhagorol, fel y canlyn: "Gallaf ddywedyd dalu iddi" [neu, ddarfod talu iddi hi, y gyfraith] "mewn ystyriaeth, "*fwy* nag oedd hi yn ei ofyn; canys nid oedd "hi yn gofyn ufudd-dod ond gan greadur; eithr "dymà un sydd yn Greawdr, yn ufuddhau "iddi. (*Y Wisg Wen &c. tu dal.* 90.

Drachefn, (*tu dal.* 129.) "Gan y byddai

"ufudd-dod y fath un i'r gyfraith, yn rhoddi
"anrhydedd anfeidrol iddi, ac y byddai gwaith
"y fath un yn myned dan y felldith, ac yn
"dwyn y gosp ddyledus i ddyn oddiwrth gyf-
"iawnder, yn *fwy* o anrhydedd i gyfiawnder,
"ac yn dangos mwy o anghyfiawnder a drwg
"pechod, nag a allai marwolaeth dragywyddol
"y dyn byth wneuthur."

Y mae yn yr ymadroddion uchod, o eiddo Mr. T. brawf o syniant addas am Grist, a mawredd ei Berson a'i waith. Gellid dangos lliaws o awdwyr da yn dywedyd i'r un perwyl: Ond paham y galwaf am dystion ereill yn ychwaneg? Y mae C. E. ei hun (yn *tu dal.* 4.) wedi tystio yn ddigon eglur, yn ei erbyn ei hun, fel hyn: "Cafodd y ddeddf *fwy* o fodd-
"lonrwydd yn mywyd a marwolaeth Crist,—
"nag a gafodd o anfoddlonrwydd a dïanrhyd-
"edd yn ein pechodau."—Ond medd, C. E. yn ei eiriau nesaf,

"Yr oedd yr Iesu yn holl-ddigonol i brynu dynion cwympiedig, ac *angylion syrthiedig, o ran ei gymhwysder.*"

*At*. Nid oedd efe, *yn ein natur ni*, ddim wedi ei *gymhwyso* i brynu yr angylion syrthiedig; ni chymmerodd efe eu naturiaeth hwynt, (*Heb.* 2. 16.) ac nid oedd yn Ben cyfammodol iddynt, nac i un o honynt: neu fel y gellir *darllen y geiriau, "Nid yw efe yn cymmeryd gafael ar yr angylion."*

Geiriau nesaf C. E. ydynt y rhai'n: "Ond appwyntiad a gosodiad Duw o hono, oedd yn gosod terfyn i'w helaethrwydd, pa un ai dros

ychydig, llawer, neu bawb, y byddai ef; *Hwn a osododd Duw yn iawn trwy ffydd yn ei waed ef.* Nid y peth oedd yn ddigonol o hono ei hun, a'i gwnaeth yn iawn dros neb; ond ei gymhwysiad i hynny oedd ynddo ei hun; eithr y gosodiad dwyfol o hono, gan ewyllys Duw, yn ol trefn cyfammod. Yr oedd yn ddigon i fod dros Judas, *pe büasai* Duw yn ei osod ef. Nid yw ei holl ddigonoldeb ynddo ei hun, ddim yn ei wneuthur yn iawn dros derfynau *ewyllys Duw yn y cyfammod*, gwaed yr hwn yw efe."

*At.* Yr wyf o galon yn cyduno â hyn oll, sydd ar ol y geiriau olaf y sylwais arnynt: ond y maent, fel amryw o ymadroddion eieill yr un awdwr, yn gwrthbrofi yr hyn a gawsom ganddo o'r blaen.—Yr oedd Iesu yn ddigonol, neu yn holl-ddigonol, i fod yn iawn "dros Judas," a thros holl fradwyr a gwrthryfelwyr y byd i gyd, pe gwelsai Duw yn dda ei osod ef: Ond gan mai *dros ei eglwys*, sydd ar led yr holl fyd, y gwelodd Duw yn dda ei osod, ac y gwelodd efe (yr ail Berson) yn dda ei *roddi ei hun*, cyfrifwn hyn i ben-arglwyddiaeth gyfiawn, ac i rad ras a chyfammod grasol y Goruchaf.

Geiriau nesaf C. E. ydynt, "Yr oedd yr hen *schoolmen* pabaidd yn dweyd, "fod Crist wedi marw dros bawb, o ran digonoldeb yr iawn.— Ni allasai, heb ei osod yn iawn iddynt, meddaf. —"Ond nid yn effaith ei gymhwysiad."—Ond mae y Beibl yn dangos y bydd ei gymhwysiad mor helaeth a'i osodiad dwyfol i fod yn iawn."

*At.* Am yr Ysgolwyr Pabaidd, a phwy byn-

ag gyd â hwy, sydd yn barnu fod Crist wedi marw *dros bawb oll o ddynol-ryw*, mi a ddymunwn iddynt gael eu dysgu yn well, i ddeall a derbyn geiriau Duw yn eu gwir ystyr, ac mewn cysondeb â'u gilydd. Ond am "ddigonoldeb *yr iawn*, (*ilastêrion*, *ilasmos*, sef, lle yr heddychiad, llonyddydd y dig, neu aberth y cymmod) er fod C. E. *yma etto* yn ymddangos fel un yn barnu fod *terfyn* iddo, am ei fod "*heb ei osod yn iawn iddynt*," neu dros bob un o ddynol-ryw, etto gwell gènyf fi dderbyn ei eiriau sydd ychydig linellau yn ol: Yno efe a ddywed am Iesu, fel Prynwr holl-ddigonol, *mai* "*appwyntiad a gosodiad Duw o hono, oedd yn gosod terfyn i'w helaethrwydd, pa un ai dros ychydig, llawer, neu bawb y byddai efe.*" "Gwin hên" ydyw hwn, sy'n dra iachus, ac wedi cael ei gyfrif felly gan eglwys Crist o oes i oes; er nad ydyw mor flasus i natur lygredig, sy'n afiach ei harchwaeth. Ac er i ni gael cynnyg o aml draflwngc o'r *gwin newydd*, etto dywedwn, "gwell yw yr hên."

Yma y mae C E. yn chwanegu, "*Hên dybiau* eglwys Rhufain sydd yn wastad am ddiraddio *effaith* gwaed Crist."

*At.* Yn ddïau y mae rhai *tybiau newydd* hefyd, a gofleidiodd ac a gyhoeddodd C. E. yn tueddu i ddiraddio *digonolrwydd*, neu *holl-ddigonolrwydd*, yr un gwaed, sy'n annherfynol ei fri a'i werth. Y mae gènym oll ein beiau, y rhai y mae i ni achos i edifarhâu am danynt. Y mae i eglwys Rhufain fawr achos i edifarhâu am ei chamwedd, a bennodir yma gan C. E.

(fel am ei chamweddau ereill) er nad oes fawr o obaith yr edifarhâ hi, cyn ei chwymp i ddinystr. Ond yn wir yr wyf (mewn symledd a chariad Crist'nogaidd) yn gobeithio pethau gwell am dano ef. Mil gwell a harddach ydyw addef camwedd, neu amryfusedd, a'i iawni, nag ymlynu wrtho, a'i amddiffyn. "Y neb a ddyoddefo gerydd, sydd gall:" a "Sarn y cyfiawn yw dychwelyd oddiwrth ddrwg." Y mae llawer gwr da wedi rhoddi prawf fod ynddo ras mawr a deall da, trwy dderbyn argyhoeddiad, ac ymostwng ger bron Duw a dynion, o herwydd *cam-ymddygiad*, neu *gam-farn:* ac y mae'r olaf yn ddrwg, fel y cyntaf, os nid yn waeth o lawer, mewn athrawon neu ddysgawdwyr. Y mae pob un o honynt yn "wreiddyn chwerwedd," sydd yn "llygru llawer." A chofiwn oll, gyd âg arswyd duwiol, "*Os llygra neb demi Dduw, Duw a lygra hwnw.*"

Wrth fyned y'mlaen, o *tu dal.* 18, hyd ddiwedd y Traethawd, yr wyf yn cael amryw ddadleuon iachusol a da o blaid yr athrawiaeth o Brynedigaeth Neillduol, y'nghŷd âg ambell ymadrodd sy'n tueddu at y golygiad yr wyf fi, o gydwybod, ac mewn cariad (mi a feddyliwn) yn ei wrthwynebu, gan edrych arno fel un sydd nid yn unig yn magu athrawiaeth "amryw a dyeithr" yn eglwys Crist, ond hefyd fel golygiad sy'n dra difrïawl i'w fawredd, ac i werth annherfynol ei ufudd-dod a'i aberth.——

Bellach, daliaf ychydig sylw ar hyn, sydd yn *tu dal.* 26.

"Nid galw i gredu peth heb ei fod yn bod,

"mae'r efengyl, ond credu yn Nghrist yr hwn "sydd yn bod, ac *yn nigonolrwydd ei waed, i achub plant y cyfammod, neu gredinwyr.*"

I hyn yr wyf yn ateb, Gwir yw, na achubir neb trwy Grist, ond plant y cyfammod, neu gredinwyr; etto, nid i gredu'r *digonolrwydd* a ddarlunir yma y mae'r efengyl yn galw dynion, ond i gredu "tystiolaeth Duw am ei Fab," sef, "fod ynddo fywyd tragywyddol"—mai efe "yw y gwir Dduw, a'r bywyd tragywyddol"—fod ynddo ef, trwy ei farwolaeth, ddigonedd gwir ddwyfol, i achub "yr annuwiol," i "gadw pechaduriaid," ac i "heddychu gelynion." (1 *Iöan* 5. a *Rhuf.* 5.) Y mae hi i'w phregethu "i'r holl genhedloedd," ac "i bob creadur" o ddynol-ryw; (*Math.* 28. 19. *Marc* 16. 15.) ac y mae'r Arglwydd yn cynnyg ynddi ei gwledd a'i thrysor, (heddwch, cymmod, bywyd, a chadwedigaeth hyd byth) i bawb a'i clywant, neu a'i darllenant. A pha le y byddai geirwiredd neu wirionedd y cynnyg, a'r cynnygiwr, pe na byddai ynddi *ddigonolrwydd cyfatebol?* Ac ai annogaeth addas i'w derbyn a roddai ei digonolrwydd at eisiau *plant y cyfammod,* neu *gredinwyr,* os felly y terfyna *ei digonedd hi?* A fyddai *hi felly* yn "newyddion da o lawenydd mawr—i'r holl bobl," ac ynddi wahoddiad addas i'r nifeiri sydd yn estroniaid a gelynion i Grist a'i gyfammod, ac i ereill sydd yn dechreu teimlo eu hunain yn gyfryw, ac y'mhell oddiwrth wybod eu bod yn blant y cyfammod, neu gredinwyr? Hefyd, oni allai ei haughredwyr hi ddywedyd, "Ond i ni barhau i'w hanghredu

"a'i gwrthod, ni a allwn haeru yn ddibetrus, "nad oedd gan Grist *ddim digonolrwydd i'n* "*hachub ni?* Cawsom ein galw i gredu, ond i "gredu am neu mewn peth *heb fod*, neu *heb* "*fod ynddo ddigonedd* ar gyfer ein personau "a'n pechodau ni, neu yn yr hyn yr oedd *ei* "*ddigonedd* yn ymddibynu ar ein crêd ni yn-"ddo!"—Ni cheir yn ngwaed ac iachawdwriaeth Crist ddim sail i gableddau ei wrthodwyr.

Gydâ hyn oll, mi a ddymunwn yn frawdol gymhell y gofyniad i ystyriaeth pob Cristion, Pa anrhydedd i Fab Duw, a'i gyflawnder dwyfol, (y'nghŷd â'i berffeithiad trwy ddyoddefiadau yn y cnawd) a rŷdd y dywediad, neu y meddwl, fod urddas ei Berson, ei ufudd-dod, a'i waed, *yn ddigon dros ryw nifer terfynol*, o bechodau ac o bersonau, er i'r rhai'n fod yn amlach nag y dichon *dyn* eu rhifo? Na fydded i ni "osod terfyn i Sanct yr Israel," yn ei allu fel Creawdwr, yn ei or-uchedd a'i lywiad perffaith fel Duw rhagluniaeth, nac ychwaith *yn ei fawredd fel awdwr iachawdwriaeth*; er iddo ef, fel Pen-arglwydd, fwriadu terfyn ar ei heffeithiau, neu, mewn geiriau ereill, fwriadu prynu, galw, ac achub hyd byth, y rhai oll a achubir ganddo; ac er mai y rhei'ny yn unig sydd yn profi ei weithrediadau grasol. Yn lle ein bod ni yn gosod terfyn na osododd Duw, bydded i bob Cristion, ac i bob pregethwr yn enwedigol, ganmol a chymhell iachawdwriaeth Crist, nid fel un sy'n *ddigon i gredinwyr*, a dim ychwaneg, ond (yn hytrach yn ol crêd yr afradlon, am ei "gwala a'i gweddill," ie)

fel un anfeidrol a hollawl annherfynol, yn ei mawredd a'i chyflawnder gwir sylweddol, yn ol mawredd y Duw a'i rhagluniodd, ac yn ol mawredd y Person Dwyfol a'i gorphenodd, trwy *ei roddi a'i aberthu ei hun!* A hyn, gan gofio, mai un peth yw y cyflawnder sydd ynddi, ac mai peth arall yw y cyfrâniad o'i bendithion, pa un bynag ai mewn bwriad tragywyddol, ai mewn cyflawniad amserol. Dyledswydd a braint gweision Crist yw cyhoeddi'r cyntaf, fel gwirionedd dilys, gyd âg awyddfrýd gwresog a ffyddlawn, a gadael y llall i law yr hwn a bïau ei drefnu.

Mi a wn fod dadleuon traws gan laweroedd yn erbyn yr athrawiaeth o etholedigaeth, prynedigaeth a galwedigaeth neillduol, ac o blaid yr hyn a elwir yn *gariad cyffredinol* yn Nuw a'i Grist: ond nid yw yr hyn a ddywedwyd, neu a ddywedir gènyf fi, o blaid holl-ddigonedd Crist, a galwad neu gynnygiad cyffredinol ei air a'i efengyl, yn pleidio dim efo'r cyfryw ddadleuon. Y mae'r ddadl yma o fath wahanol, *yn erbyn gosodiad terfyn i'r annherfynol*, ac, yn tueddu i geisio datgan a dangos y mawredd dwyfol sydd ynddo, a'r gwiredd dwyfol sydd yn nghyhoeddiad a gwahoddiad helaeth ei efengyl.—Rhodded yr Arglwydd i ni "ddeall da yn mhob peth," i ofyn "am yr *hen lwybrau*, lle y mae ffordd dda," fel y rhodiom ynddi.

Bellach, edrychwn pa beth sy'n canlyn, gan C. E. yn *tu dal.* 26.

"Nid yw y Beibl yn ein tueddu i feddwl fod

"iawn Crist mewn bod, megys mewn blwch, "dros y rhai a gollir; ond heb un dyben i'w "gymhwyso. Nid yw yn hanfod, yn helaeth-"ach na'r dyben i'w gymhwyso:"

Os ystyriaf hyn o eiriau wrthynt eu hunain, nis gallaf lai nag ateb, Y mae iawn Crist mewn bod, hynny yw, yn ei sylwedd a'i werth hanfodol: etto, nid ydyw wedi ei roddi, na'i dderbyn, yn ol arfaeth a chyfammod dwyfol, dros y rhai a gollir, ond yn unig dros y rhai a gedwir, ac i'r dyben o gael ei gymhwyso atynt hwy, i'w heddychu â Duw, i'w sancteiddio, a'u gogoneddu byth.—Ond ystyriwn y geiriau nesaf, sy'n perthyn i'r un (*sentence*, neu) ymadrodd:——" nid am nad ydyw *yn ddigonol yn-"ddo ei hun i fod, ond am na osodwyd mo "hono gan drefn ddwyfol y cyfammod*, ond yn "gysylltiedig â dyben dïanwadal, *i roi pob peth "arall gyd âg ef hefyd*."

Yr wyf o galon yn cyduno â hyn; y mae'n wirionedd o bwys a gwerth mawr: Ac (onid wyf yn llwyr-gamgymmeryd) o blaid y *digonedd* sydd wedi cael ei addef yma, *y'nghŷd â'r neillduolrwydd* a grybwyllir yma am dano, "*yn ol gosodiad a threfn ddwyfol y cyfammod*," y mae fy ymdrech wedi bod, yn yr hyn a ysgrifenais ar yr achos hwn. A phe buasai C. E. wedi gwahaniaethu yn addas a chyson, yn y ddau fatter hyn, sef rhwng y *digonolrwydd annherfynol* ac **unwadadwy* sy'n perthyn i

* Ni chafodd *holl-ddigonedd* Crist mo'i wadu gan un gangen o'i eglwys, hyd yn hyn: ac, fel y dywed y Dr. Ridgeley, (*Body of Div.* P. 264) " Y mae yn *addefedig gan bawb oll o'r rhai a addefant ei Dduwdod a'i Iawn*."

iawn neu aberth Crist, *ynddo ei hun*, a'r *gosodiad o hono*, yn ol trefn y cyfammod, *i fod yn aberth ac yn iawn dros ei eglwys*, y rhai a gredant ynddo, neu *ei gorph ysprydol yn unig*, mi a feddyliwn y buasai efe felly yn ddadleuydd mwy cadarn a chyson o blaid y wir athrawiaeth am brynedigaeth neillduol; ac hefyd, y buasai efe felly, (gyd â holl gorph llïosog* ac enwog ei hamddiffynwyr hi,) yn ymgais am roddi anrhydedd a bri mwy addas i'r Prynwr, ac i'w waed, sydd yn annirnadwy, ac annherfynol ei werth Ni buasai iddo felly sôn am *rifo pechodau*, yn y golygiad sy ganddo, neu, fel gwir bwngc ysgrythyrol, heb ei fod felly, nac am Grist, megis *wedi dyoddef mwy dros rai o'i bobl na'u gilydd*, ac fel yn prynu rhai trwy boenau ysgafnach, a rhai drachefn trwy boenau trymach, "*yn ol rhif a phwys, ac yn ol trefn rhifyddiaeth a phwysedigaeth!!*" Ac ni buasai iddo felly sôn am *ei allu i oddef mwy, fel rhan o'r gwerth anfeidrol sydd yn ei waed*, a chyd â hynny fel moddion addas i *chwanegu* at ei werth! a'r "*dyoddef ychwaneg, ïe, digon dros yr angylion syrthiedig hefyd!*"—Yn y pethau hyn, a'u cyffelyb, y mae efe hefyd yn dra anghyson

---

* Y mae llïaws o honynt yn rhoddi eu tystiolaeth yn erbyn y tyb yr wyf yn ceisio ei wrthsefyll, fel y gellir gweled yn eu 'sgrifeniadau, neu, yn fyr, yn y profion a roddais allan o honynt, yn y Trydydd a'r Pedwerydd Ymddyddan. Yn eu mysg y mae tri a elwid yn Fedyddwyr, sef, y *Dr. Gill*, *Mr. J. Brine*, a *Mr. J. Bunyan*: ac y mae un arall, y diweddar *Mr. Andrew Fuller*, wedi tystio yn erbyn yr un gau dyb, mewn Ymddyddan a gyhoeddodd. Hefyd, nid yw geiriau *Mr. T. Thomas* ddim yn annheilwng o sylw.

âg ef ei hun,—wedi rhoddi anfri ar Grist (nid o fwriad, ond trwy amryfusedd, mi a goeliaf,) ac wedi rhoddi cynnyg at arwain gwerin y Cymry ar ol athrawiaeth sy'n amrywio oddiwrth "yr hon a draddodwyd iddynt," ac oddiwrth "air gwirionedd yr efengyl;" a hyn, ar fatter sy'n llawer mwy ei bwys nâ'r un sy mewn dadl, y'nghylch y pryd, a'r modd, neu drefn, i weinyddu'r ordinhâd o fedydd.

Wrth graffu ar ychydig linellau yn ychwaneg, o eiddo C. E. (yn *tu dal.* 33.) yr wyf yn meddwl mai addas yw eu dangos, yn bedwar darn ymadrodd, a rhoddi ateb byr, i bob un o honynt.—Medd efe, "Dywedir, fod yr iawn yn "holl-ddigonol dros bawb, *gan rai:* ond pa "ddigonoldeb ydyw hwnw ar ran y rhai colledig?"

*Ateb.* Y mae'n gwbl sicr (ac wedi ei brofi yn hyn o lyfryn, mi dybygwn) fod holl-ddigonoldeb yn perthyn i iawn neu aberth Crist, o ran ei fawredd a'i werth *ynddo ei hun;* ac ni byddai gwadu hyn ond gwadu ei Dduwdod *mewn effaith* a chanlyniad (*virtually*) er y gallai fod llai nâ hynny yn meddwl a bwriad y gwadwr: Etto, yn ol arfaeth a chyfammod y Personau Dwyfol, nid ydyw yn iawn dros bawb oll o ddynol-ryw, ond dros *y rhai* a *roddwyd* i Grist.—*dros ei ddefaid,—dros ei eglwys.* Y digonoldeb hwn, nid ydyw "ar ran y rhai colledig," i'w prynu a'u hachub; (y maent hwy yn ei wrthod, ac yn marw heb ran ynddo;) etto bydd yn ddigonoldeb "*er tystiolaeth* iddynt," ac yn eu herbyn, os byddant wedi clywed

yr efengyl; (*Math.* 24. 14.) ac yn ddigonoldeb a fydd er tystiolaeth amfawredd Crist a'i aberth, o flaen holl luoedd nefoedd ac uffern, i dragywyddoldeb.—Yn nesaf, medd C. E.

"Mae yn rhaid mai rhyw ddigonoldeb ag "sydd yn ymddibynu ar ryw beth arall heblaw "ei werth tufewnol ei hun."

Nag ê, yn ddïau; ond "ar ei werth tufewnol ei hun" y mae ei ddigonoldeb hwn yn ymddibynu yn gwbl a hollawl, ac nid ar ddim arall; tra y mae ei *appwyntiad*, neu osodiad dros ei eglwys, a'i effeithioldeb i'w eglwys, yn ymddibynu ar fwriad a chyfammod tragywyddol y Drindod, a gweithrediad Yspryd a gras Duw. Ai nid yw C. E. ei hun wedi addef hyn rai gweithiau, o ran gwir ystyr a sylwedd ei ymadroddion? Ydyw, yn amlwg: ac yma nis gallaf lai nâ datgan fy meddwl, mewn dwysder, na welais i un ysgrifenwr (heblaw dau neu dri o amddiffynwyr y gau dyb am *ewyllys rhydd*) yn gwrth-ddywedyd ei hun mor amlwg ac mor fynych a C. E. a hynny yn enwedigol mewn ychydig ddalènau o'i Draethawd hwn. Ond medd efe yn nesaf,

"Mae digonoldeb mewn gwaith i alw am ei "gyflog; teilwng i'r gweithiwr yw ei gyflog, "os caiff cyfiawnder le."

*At.* Ei gyflog a'i wobr llwyr deilwng, yn ol ei ewyllysiad dwyfol, a'i gyfammod o brynedigaeth a gras, ac yn ol iawnder perffaith yr ammodiad hwnw, a gaiff Crist ei weled yn ddïau, ac yn ddïammau; (*Esay* 53. 10, 11, 12.) ond, am gyflog a fyddai yn eithaf cyd-bwys, neu yn

holl-awl o'r un gwerth, a'i lafur, ei ufudd-dod, a'i aberth ef, (gyd âg ystyriaeth dwys a pharch y dywedwyf hyn) *nid oedd, nid oes, ac ni bydd byth yn helw Duw, mo'r fath gyflog, i'w roddi iddo!* Am brawf ysgrythyrol o wirionedd y dywediad mawr-ddwys hwn, dymunwn gyfeirio C. E. a'm darllenwyr oll, at yr amryw wersi o'r Bibl (a bennodwyd yn yr Ymddyddanion, ac,) sy'n dangos mai EFE (Mab Duw mewn cnawd) YDYW'R IAWN, a'i fod wedi ei *roddi a'i aberthu ei hun.* Os edrychaf, yn mysg ymadroddion llawer o ddynol awdwyr, nis gwn am ddim sy'n fwy cadarn ac ardderchog nâ'r hyn a ddangoswyd (Ymddyddan III, *tu dal.* 71) allan o *Eiriadur* y diweddar Mr. Charles, tan y gair *Aberth.* Maddeuir i mi gan lawer, os ail-ddangosaf *ran* o'r geiriau :—
"Nid yw cymmaint o fydoedd ag a ddichon "Duw eu gwneuthur, a'r rhei'ny wedi eu llen-"wi â'r creaduriaid mwyaf gogoneddus a ddi-"chon efe eu gwneuthur, *ond dim, a llai nâ "dim,* mewn cymhariaeth iddo. Nis gellir dy-"wedyd mwy am dano, nâ dywedyd, *iddo ym-"ddangos unwaith i ddileu pechod, trwy ei "aberthu ei hun,"* (Heb. 9. 26.)—Holl-ddigonoldeb iawn, neu werth annherfynol gwaed ac aberth Crist, ni ddichon neb ei wrth-brofi, pwy bynag, a pha nifer bynag, a anturio ei wrthdaeru.

Ond y geiriau nesaf, a'r rhai olaf a bennodaf, o eiddo C. E. yw y rhai'n :—"Mae priod-"oli unrhyw ddigonoldeb arall i waed Crist, "yn ddïanrhydedd iddo, ac yn anysgrythyrol,

"yn ddychymmygol, yn gwasanaethu o du Ar-"miniaeth."

*At.* Nag ydyw yn ddiau; ond, fel y profwyd yn eglur a helaeth (yn yr Ymddyddanion a'r Sylwadau) bydd yn anrhydedd dirfawr a thragywyddol iddo, ei fod nid yn unig, trwy ei waed, yn ddigonol i olchi ac achub ei eglwys, ond hefyd yn un a "ddichon wneuthur yn dra "rhagorol, y tu hwnt i bob peth yr ydym ni "yn eu dymuno, neu yn eu meddwl," &c. (Eph. 3. 20.) A dianrhydedd iddo, ac o natur cabledd i'w erbyn, fel y dywed Ursinus a Bunyan dduwiol (*tu dal.* 77. ac 84.) ydyw meddwl, chwaethach dywedyd, fod terfyn i werth hanfodol ei aberth, neu, *nad oes ynddo ddigonedd* i achub, ond y rhai *y gwna* efe y drugaredd â hwynt.—Ac, am y cwbl o'r dywediad hwn gan C. E. pe byddai yn wir, byddai yn achwyniad trymddwys hefyd yn erbyn lliaws mawr o'r duwinyddion goreu, manylaf, a chadarnaf o blaid prynedigaeth neillduol: Yn mysg y duwinyddion hynny y mae'r Dr. Owen* yn un o'r

---

* Os edrychir i ymadroddion y gwr hwn, (yn *tu dal.* 56, &c.) fe'u gwelir yn llawn eglur o blaid *holl-ddigonolrwydd* Crist, o herwydd dwyfol werth ei waed, neu ei aberth; ac y mae y rhai olaf o honynt, yn enwedigol, (*tu dal.* 60.) yn dra dwys-lym yn erbyn *anghredu'r* pwngc.—Gellid dangos amryw ymadroddion ereill, o'i lyfr (*Death of death*) o blaid y gwirionedd sydd yma yn cael ei amddiffyn: un o honynt yw hwn, (*tu dal.* 198) "Y maent" [sef, rhai gwersi o'r Bibl, a bennodasid gan wr Arminiaidd] "*i'w deall yn unig, tybygid, fel yn dal allan ddigonolrwydd ei offrwm ef*" [Crist] "*dros bawb oll; yr hyn yr ydym ni*-"*nau hefyd yn ei ddal.*" Mor bell, ar ol y mynych gyfarchiadau i'r Dr. Owen, yw efe a C. E. oddiwrth eu gilydd!

rhai blaenaf; ac y mae C. E. hefyd wedi rhoddi dyfyn-nodiadau (*quotations*) allan o'i waith, a leiaf, naw neu ddeg o weithiau, mewn ychydig ddalènau o'r Traethawd sy dan ein hystyriaeth. Ond er hyn oll, pe gwir y dywediad hwn, byddai y Dr. Owen, a'i holl frodyr enwog "*yn anysgrythyrol, yn ddychymygol, yn gwasanaethu o du Arminiaeth!*" Pwy a goelia hyn? Mi hyderaf na wna C. E. ddim ei goelio ei hun, ar ol dwys-ystyried y matter: ie, mi a obeithiaf y bydd i argyhoeddiad ac ymostyngiad duwiol beri iddo *alw yn ol y pethau beius a nodwyd, a hynny mor gyhoedd ag y taenwyd hwynt ganddo. Pa fodd bynag, yr wyf yn heddychol a hyderus yn hyn, mai mewn ofn a pharch tu ag at Dduw a'i wirionedd, a dymuniad am fod o lês i'm cydwladwyr, nid mewn cenfigen, nac anfoddogrwydd at Mr. C. E. nac un blaid na pherson dynol, y bu i mi ysgrifènu'r pethau hyn. Dywedaf gydâ Dafydd;

---

Ac onid ellid gofyn i C. E. ar gryfach sail nag oedd gan Eliphaz, yn gofyn i Job, " At bwy o'r saint y troi di?" (Job 5. 1.) A fedr efe ddangos cymmaint ag *un* awdwr da, *un* ysgrifenwr dysgedig, a pharchus gan eglwys Crist, neu gan *un gangen* o honi, fel attegwr y *pwngc* y mae efe wedi tynnu hyn o sylwadau ar ei Draethawd o'i herwydd?

* Yr wyf o beth yn fwy gobeithiol am hyn, wrth fod gwr o Sir Ddinbych wedi hyspysu im' fel y canlyn; Fod Mr. C. E. wedi gwirio wrtho ef ei hun, mewn ymddyddan byr, ar heol tref yn y Sir honno, ddarfod i gyfnewidiad gymmeryd lle yn ei farn y'nghylch prynedigaeth, ar ol yr amser y 'sgrifenodd efe y Traethawd yr wyf yn sylwi, ac yn beio, ar rai pethau sydd ynddo. Gallaf enwi y dref, a'r gwr, os bydd achos am hynny.

"Beth a wnaethum i yn awr? Ond oes achos?" (1 *Sam.* 17. 29)

Bellach, er nad wyf wedi dynodi pob un o'r dywediadau sy'n ymddangos i mi fel rhai beius yn y Traethawd; etto, gan fy mod wedi sylwi ar *gorph neu sylwedd y* tyb, (yr hwn ni fedraf feddwl y gweddai i un *Cristion ei dderbyn*, nac *i un gangen o eglwys Crist ei oddef* o'i mewn (gan mor groes i'w anrhydedd dyledus ef ydyw) yr wyf yn penderfynu, gan ddymuno i'r Arglwydd fy nysgu i a'm cydwladwyr yn well, lle yr ydym heb wybod, neu yn gŵyro at un math o dyb cyfeiliornus. Ac nid wyf yn gweled achos i fod yma yn helaethach, nac yn fanylach, gan fod profion allan o air Duw, y'nghŷd â thystiadau cynnifer o eglwysi ac o awdwyr nodedig, yn llefaru mor eglur yn yr Ymddyddanion blaenorol.

---

***Sylw-nod sy'n perthyn*** **i tu dal. 132. llin. 19.** ***dan y gair*** **lygru:**

**Y mae eneidiau pobl Dduw yn griddfan yma, o herwydd eu llygredd pechadurus, a bydd eu cyrph mewn llygredigaeth, hyd fore yr adgyfodiad: etto, ffrwyth eu pryniad fydd eu bod yn anllygredig byth.**

# CYWYDD

(AR YR UN TESTUN A PHYNGCIAU PWYSFAWR AG SYDD YN HYN O LYFRYN, NEU)

## Y GWIR YN-ERBYN Y BYD.*

Y *Gwir*, mewn bro a goror,
Gwawr fydd o fynydd i fôr:
*Y gwir*, a'i lef fydd hefyd
O bwys, *yn erbyn y byd:*
*Y gwir*, mae'n ddiwyg ei waith;
*Y gwir* wna oreu gaer-waith:
*Y gwir*, mor hardd ei goron,
Ar ddydd gwŷs, yn y Llŷs llon!
*Y gwir*, a'i naws goreu, Nâf,
Erfyniwn ei wawr fwynaf.
Na foed y [1] nam, fod i neb [1 *Bai, drwg, coll*
Godi o blaid y [2] geudeb; [2 *Anwiredd.*
Na thynnwyf i'r gwrthuni,
Llaw lôn fo i'm llywio i.
  I'n gwlad, gan Nêr, doder dawn,
Er *heddwch*, yn wir hyddawn.
O, carwn y *cu wiredd*;
Ac, efo hwn, hoffwn *hedd.*
*Gwir a hedd*, mewn unedd ânt;
Eu tônau a gytunant:
*Y gwir a hedd* (cyd-wedd cu!) Zec. 8. 16, 19.
Anhynaws eu gwahanu.
O palla gwir, pwyll a'i gwêl,
Mae'n [4] drafod myn'd i ryfel, [4 *Llafur, &c.*

---

* Hen arwydd-wers, neu wir-air Cymreig.

Yn arfog, a than erfyn
Rhag y gau mewn doniau dyn.
Gwell gwaedu, nâ gwerthu *gwir:*
O [5] luddiant hwn ni lwyddir. [[5] *Attaliad:*

Trwy hyn o ddôr agoraf
Frwydr yn hawl y nefawl Nâf;
Bo'n fwg ar bob-un a faidd
Noddi *gau dyb* * *newydduidd;*
Yn ddu-fwg erch i berchen
Pab-wedd hud, *pe byddai hen.*

Gwirionedd, gu-wawr union,
Ar led llifeiried o *Fôn;*
O bob bro, gan Gymro gwir,
Yn ddoniad, heb nodd anwir;
Yn fêl a gwlith, neu fael gwlad,
I'w thra-enwog feithriniad.
Sorod, a gwaddod geuddysg,
Nodd dawn mall, na ddoed i'n mysg,
Na thyb, am gyfoeth aberth
Ein IOR, *fod terfyn i'w werth.*

*Terfyn i werth aberth IOR!*
Ow! geufarn yn [6] dygyfor! [[6] *Ymgodi yn gryf*
Siòm! geudeb! sy' am godi
Anwir nam ar ein Nêr ni!
Bwyd i'r wadd, o radd, o ryw, (*Esay* 2. 20.)
O [7] sud, iawn addas ydyw; [[7] *sut, gwedd &c.*
(Oer ystlòm!) ac i'r 'stlumod
Hàcraf, a butraf sy'n bod:
Ond och! ei faeth, gyflaeth gau,
Wna adwyth i eneidiau:

---

* Y cyfryw yn sicr ydyw y tyb a wrthwynebir yma yn [...]enaf a phènaf.

Och [7] annawn y dawn a'i dŷg, [[7] *Dryglum.*
Ddu a chàmaf ddychymyg!
Neu [8] fwrn uthr o farn athrist, [[8] *Swp, neu*
Dwrdd croes, *yn di-urddo Crist! rwym-faich.*
Gerwin [9] ru, garw yn ei ryw, [[9] *Rhuad, swn*
Cwbl dd'wediad * *cabledd ydyw!!* (*uchel.*
(Os [1] bulwg fu † *Sabeliaeth,* [[1] *Rhyw chwŷn.*
A'i chèn gwyw, dyma chwŷn gwaeth; (*Job* 31
A phrin mor gethin y gau, (40.)
Yn antur ‡ *Sand'man* yntau :)
Un duaf, hàcraf, yw hwn,
Fel un o fyw-lu [2] annw'n! [[2] *Uffern, y pwll di-*
Ystruenyn estronawl, (*waelod.*
O ddu foes, i Dduw a'i fawl:

---

* Hynny yw, cabledd fyddai dywedyd, *fod terfyn i werth aberth Crist;* neu, *nad oes digonedd* yn ei werth i achub ond y nifer a achubir: A gwybydded pob un sy'n rhoi lle i ddychymyg am ffordd, neu ffyrdd, i'w aberth EF fod yn *fwy* ei werth, ei fod nid yn unig *yn gosod terfyn iddo,* ond yn rhyfygu y'mhellach, gan geisio dangos *modd i estyn ei derfyn,* neu *chwanegu* at ei werth!—at ei werth *dwyfol ac annherfynol!!*

† Nid oedd *Sabelius* yn iawn-addef Personau y Duwdod, ond yn gŵyrdroi yr athrawiaeth am y Drindod, i dyb cyfeiliornus am *dri o enwau,* neu *dair o swyddau,* gan y Jehofah, fel Crëwr, Prynwr, a Sancteiddydd. Yr oedd efe yn ddïau yn gam-feddwl am y Tri-yn-un Duw, *o ran ei ddull anghenrheidiol o fod;* etto, nid oedd efe yn bychanu Mawredd Duw, fel y mae'r tyb a wrthwynebir yma yn bychanu Mawredd yr Ail Berson. Am *natur y tyb,* a'i sicr *gànlyniad,* yr wyf yn dywedyd hyn; nid am *fwriad* C. E. na neb arall; a'r un modd yn y llinellau canlynol.

‡ Y mae egwyddorion *Sandeman* a'i ddilynwyr, yn lled adnabyddus i lawer yn Nghymru; a rhy faith fyddai adroddiad manylaidd am danynt, i'w roddi yn hyn o Sylwnodau: Ac i C. E. nid oes eisiau y fath adroddiad,

Un cras iawn, un croes union
I gu-lais iach Eglwys Iôn;
Ac i'w Fod cuaf, a'i air,
(Gresynwn) mae'n gras anair;
Cenaw ellyll tra-hyll, traws,
Er hòniad geiriau hynaws!
*Anathema*, noeth ammod,
Yw ei hawl, nid nefawl nôd;
Gŵythen o ryw gwaeth nâ'r us,
Ië, *bleiddyn cableddus*;
A'i gyfarthiad, bloeddiad blin,
Ffrydiodd yn *si* cyffredin,
Yn achwyn ar Iôn * ucho,
(Och rhag hyn!) mewn bryn a bro:
A'i foes bu fel dyfais bol
Y ffyrnig lu uffernol,
Neu faen, o'u tafl du, aflan,
At Oen Duw byw, ein Glyw Glân,
Trwy uchel dyb anwybod,
A denawl fai *dynol fod*.

I'r tyb bo [3] trang hil anghrist, [[3] *Diwedd*.
Dan groes ein da iawn-wiw Grist.

Frawd, ffo draw, mewn braw a brys,
Rag [4] achreth y rheg echrys [[4] *Crynfa* (Deut.
I noddwyr tyb anaddas; 27. 18. Gal. 1. 9.
Llwyth trwm fydd y cidwm cas:
Maenawr i ti a minnau
Fo hedd, heb goledd y gau:

---

* Yr un ag *uchod*. Y mae'r tyb yn cynnwys achwyniad ar Dduw, fel un wedi trefnu iachawdwriaeth *sy'n annigonol* i achub y rhan fwyaf o'r rhai y cynnygir hi iddynt; heb sôn am y nifeiri mwy o lawer, sydd hyd yn hyn heb gael y cynnyg o honi.

Gwedd oer a ddaw o gau ddysg;
Dirfawr fydd sŵn ei derfysg:
O! gwyliwn, i'w ogelyd,
A'i dwyll, fel *gau bwyll y byd*.

Iawn dwyfol, anfeidrol fydd
I fawl-ddawn llu nefol-ddydd,
Uwch eu doniau gwŷch, [5] dinam: [[5] *Digoll*.
O! Y NER PUR! dyna'r p'am.
Och! [6] nagwn, *i'w chwanegu*, [[6] *Naccäwn*.
Un tyb neu gais, ddyfais ddu!
Gwaelaf y dull, a ffull ffol,
I [7] fânu'r *Annherfynol*, [[7] *Mân-rannu*.
A bri yr HEN * DDIHENYDD!
Prifia'n dasg i'r † *pryfyn dydd*;
I'r pryfyn, abwydyn bedd,
‡ Ymeiriwr gwan â MAWREDD!

Hyfawl Dduw! § hafal ei ddig;
Ystyria, ‖ *westai orig*:
"Cofia'r rhyfel;" [8] ufel yw; [[8] *Tân*.
"Eilwaith na wna;" wyt wael-wyw: [*Job* 41. 8.
Na fydded hyn o feddwl,
Gan y gwael-ddyn, ¶ pertyn pŵl.

O, ein Nêr mawr, a'n Iôr ** mŷg,
[9] Darmerth, pellhâ y dirmyg: [[9] *Parotöa*.

---

* Heb darddiad neu ddechreuad. *Dan*. 7. 9, 13, 22.

† Megis pryfyn am ddiwrnod yw dyn yma, (*the worm of a day*.)

‡ Ymddadleuwr.—§ Cyffelyb, cyfatebol.—‖ Ymwelwr am ennyd byr: Y cyfryw yw dyn yn y byd hwn.

¶ Nid wyf yn defnyddio y geiriau hyn gyd âg un radd o ddirmyg ar ddeall, doniau, a chyrhaeddiadau C. E. *na neb arall*; ond yn unig mewn golygiad ar ein gwaeleddau ni, bawb oll o ddynol-ryw. *Ynfyd yw pob dyn yn ei wybodaeth*.

** Anrhydeddus.

Y Meddyg, iachâ, maddau,
Eiddil gyrch y meddwl gau:
Y garw ei naws gyrr yn ol,
â difai arfau dwyfol,
A 9 hyddawn argyhoeddiad, [9 *Llesol, buddiol.*
Ar fyr dro 'n diglwyfo gwlad.

Yma ni wnaf arafu
Mawr ddig at adill mor ddu.
Mwynedd yw in' ddymuno
I'r fall or-flin, *ffestin* 1 *ffo*: [1 *Ffoad cyflym, ar frys.*
Yn ol, i'w huffernol ffin,
Gwthier ei dû-wedd gethin:
Boed peraidd lef llu nefawl
Yn ddawnus, yn felus fawl,
Uwch ei bedd, ei dyfn-fedd du,
Yn llwyr-ddwfn, mewn cell or-ddu.
Y ddyfais hŷ, ddi-foes, hell,
A dago mwg ei du-gell;
A'i ffwlach, ddu gorpholaeth,
Heb frasder, na mêr, na maeth,
Rhoed ei naws, rhwng llïaws llu,
2 Anoddyfn sy'n anneddu: [2 *Y pwll diwaelod.*
Nadded y llu anniddig
Eu rhannau, ne'u darnau dig,
O'r ysgerbwd anmrwd, îr,
Lonaid eu bòliau anwir,
A'u lle du: bo llu daear,
O ddawn gwiw, heb ddyn a gâr
Roi mawrhâd i drem mor hyll,
Neu archwa'r gelain erchyll;
Na chadw yn dorth, i'w borthi;
Un *fall* **hân* o'i thefyll hi;

* Rhan ddeilliadol, a rhan neu dafell fall.

Na byddo'n draws, yn naws neb,
Y gwarth anian gwrthwyneb,
I oganu *digonedd*
Ein Iôr mawr, yn wir a'i medd;
Neu roi yn wael *ran o'i werth*,
A'i wiw-bwys yn EI ABERTH!

Seinier, o dduwiol syniad,
Gwerth di-drai y Meichai mâd:
Addefwn EF, a'i ddifai
Nôd llawn, *ANFEIDROL*, nid llai:
Oen Nef, na adwn yn ol
Ei ddifai anian ddwyfol:
Ei [3] honnaid fri ei hunan, [[3] *Adnabyddus*.
Wŷr * glwys, p'am na chaiff Iôr Glân?
Mae'n wiw hawl; daliwn, mewn hedd,
Ei [4]drylawn ANFEIDROLEDD, [[4]*Cyflawn*.
A dirfawr *werth diderfyn*
*Ei waith cu!* mae'n haeddu hyn:
O fryd, a dawn groyw-iawn, gref,
Y byddom, bawb, i'w addef.

---

Bellach, dymunaf bwylledd,
Mewn araf, ddwys, wiraf wedd,
A rhoi tro, heb ffo, na phall,
I furio rhag *llif* †*arall*:
Da yw y ffin, at gadw ffordd,
Neu braffaidd wàl i brif-ffordd,

---

* Prydferth; hyfrydlon.

† Sef ffrwd y tybiau sy'n ceisio gosod Crist yn Brynwr i'r holl fyd o annuwiolion, ac yn sôn am *berthynas* rhwng ei waed ef â hwynt; tra y maent yn eu pechodau, yn gwrthod y Prynwr, a'i waed. Dalier sylw, mai o blaid y gwir neillduolrwydd sy mewn prynedigaeth y mae o ddeutu deg neu ddeuddeg-ar-hugain o'r llinellau canlynol, a'r sylw-nod cywyddol hefyd.

*Ar uswy;* yn gref dda hefyd,
*Ar ddeau,* rhag* pyllau [5]pŷd; [[5] *Peryglus.*
Rhag i'r [6]rhull, ar ffull, i'r ffos [[6]*Gwyllt, sydyn.*
Dynnu, tan lenni du-nos!
Ein BRAWD, mae'n rhodd, lawn-rodd lwys,
Oreu-glod, †*er ei Eglwys:*

---

* Sef, rhag i neb dybied (oddiwrth yr hyn sy'n wir, am werth annherfynol aberth Crist) ei fod wedi *rhoddi ei hun dros,* neu *yn lle,* pawb oll o ddynol-ryw,—Bydd i'r holl rai annuwiol etto farw yn dragywyddol am, neu o herwydd, eu pechodau eu hunain.

† Gwir [1]mŷg yw hyn, tybygwn; [[1] *I'r berchi; parchus.*
A'r gwir sydd yn oreu, gwn:
Cras [2]hail na bo'n croesi hyn, [[2] *Yr hyn a ddarparer yn ymborth.*
O foldiad bro *Trefaldwyn;*
Neu lwgr dwys, o *Loegr,* a'i dysg,
(Gau wyddiad, nid gwir addysg)
I *rannu* * Crist, a'i rinwedd,
Rhwng †*geu-blant* a [3]*hiliant hedd!* [[3] *Plant Duw; etifeddion hedd.*
Si an-hardd yw swnio hyn,
Ddewr goel, i foddio'r gelyn!
Na; *Ffrwyth glân,* saint ffraeth gloyw-nef,
Fydd ffrwyth clau ei angau EF:
A rhy hyll ydyw rhoi HWN,
A'i lawn-werth, *dros* hil annw'n!

Er mwyn-wedd hŷ *Arminiaeth,*
Prin yw mér pob §rhan o'i maeth:
Nid maeth-fam, tan yr anair,
Na bron i mi, fydd *Bryn Mair:*
Llaeth gau, y mae'n llwytho gwr;
Prinnaf ei ffrwyth i'r Prynwr.
*Gommedd fo i'r tew gymmysg:*
Gwedd dda ni faetha gau ddysg.

---

* Ai nid yw y rhanniad hwn yn ngwir natur y tyb y mae J. R. yn chwennych ei amddiffyn, trwy geisio rhoddi holl ddynol-ryw yn gyfrannogwyr yn Nghrist, fel Prynwr, neu ynte a pherthynas rhyngddynt a Christ a'i waed! Gan C. R. ni a gawn ranniad o fath arall.

† Y rhai sy'n byw ac yn marw heb fod yn wir blant i Dduw.

§ Y rhan hon yn bennodol yma, sef, y golygiad sy'n tueddu yn rhy agos at gyffredinolrwydd yn nyben y rhoddiad a'r derbyniad dwyfol o anfeidrol iawn, taludd-dod, neu aberth Crist, dros bechaduriaid.

Iôn anwyl! *drosti'n unig* (*Eph*. 5. 25. *Ioan*
Yr yfodd, dofodd y dig; 10. 15. *Dat*. 14. 3, 4.
Yn hynaws rhoddai' ei HUNAN,
IOR glwys, myrdd gwell nag aur glân,
I brynu *hon*; heb rinwedd,
Na gwedd gu, yn haeddu hedd;
Ond o'i ammod hynod, hael (1 *Pedr* 1. 18,
Fwriad Duw, a'i fryd di-wael: 19, 20.)
O'i lwyr-fodd (yn ol arfaeth, (*Eph*. 1. 4. a
Yn more Nef) *marw* a wnaeth! 3. 11.)
EFE 'n drist fu'n wiw *drosti*, (*Eph*. 5. 2.)
'N IAWN gwiw; nid mor hywiw hi:
EI HUN e' r'odd (heini 'rad!) (*Heb*. 7. 27.)
MAWREDD am *ferch Amoriad!* (*Ezec*.
Hoff rad, uwch amgyffred-waith 16. 3.)
*Didawdd Gôr, dedwydd eu gwaith!

O'flys na ro'wn yn aflêr',
Fawr Naf *i farw* †*yn ofer*,
*Dros* neb; geudeb a godwrdd
Oer bair, yw hyn ar y bwrdd;
Du-nod ar ammod yr ION,
Anair i iawnder union!
Prynu'r oedd, yn lluoedd llawn,
*Ei deulu*, nid ‡mudoliawn:
A'n Llyw, caiff weled yn llon,
Yn deg, ei brynedigion,

---

* Y Côr nefol, sydd heb flino byth.

† Am y rhai oll sy'n marw yn annuwiol, ac yn dyoddef eu cosp gyfiawn eu hunain, pe buasai Crist wedi marw *dros* y rhei'ny, ai nid *yn ofer* y buasai ei waith? Na fydded i ni roddi lle, na sail, i'r fath dyb geuol a gwrthun.

‡ Pethau symudol, (*moveables*) rhoddion dros amser.

Yn loyw einmau, *'n ol ammod* (*Esay* 53. 11.
(Iawna' bwyll) *Tri yn un Bod. Iöan* 17. 2—10)
Un bys ni erys yn ol,
O'i fawr-rif aunifeirol.

Boddio * aingc, nid budd i wr;
Prinnaf ei fawl i'r Prynwr.

Ond, *am werth ei fawr-werth Fod,*
(Honnwn) a'i *waed* mor hynod,
Wŷr, a glywch? ni fedd Iôr Glân
Fael hynod, fel ei HUNAN:
Drag'wyddol Fab! ei aberth
(Pawb a'i gŵyl) mae uwch pob gwerth!
Am werth gloes ei einioes EF,
*Gwannaidd* yw cân llu gwiwnef,
A'u ffrydiau amgyffredawl,
Llon, a fydd yn llawn o'i fawl.

Yn glau rhoddwn ninnau glod,
Yn ddidwyll i'w Lân Dduwdod:
Haned ein gwledd o hono;
A'n pêr fawl, bythawl y bo.

## *ENGLYNION.*

Hwyliodd f' Awen, hi eiliai,—o fawr-gŵyn,
Fyr ganu newydd-grai:
Addefaf nad yw ddi-fai;
Maddeuer, bodder y bai.

* Sef ceisio boddio blys dynol, trwy nesâd at egwyddorion *prynedigaeth cyffredinol*, nid yw er budd i ddyn, na chlod i'r Prynwr.

Cyssegrer, doder pob dawn,—heb lidio,
O blaid y gwir pur-iawn;
A llòniant deall uniawn
Rhoed Duw, o'i rad, a llad llawn.

Llanwer holl Gymru'n llon-wiw,—a Brydain,
Ei brodir caed eurliw,
O nodd gwŷch *y* *** *newydd gwiw:* [* *Efengyl.*
Dibèniad i dyb anwiw.

## OL-YSGRIFEN.

Os oes yn hyn o Gywydd rai geiriau, a dywediadau, â chryn radd o erwindeb ynddynt, ac felly yn ymddangos yn rhai anweddaidd, neu ddrygnawsaidd, mi a ddymunaf, gan y darllenydd deallgar a hynaws, yr ystyriaeth o hyn; Mai peth tra anhawdd yw canu ar y mesurcaeth hwn, yn ol y Farddoniaeth Gymreig, heb ddefnyddio geiriau (sy mor llïosog yn ein hiaith, ac mor gyfaddas i'w barddoniaeth) âg ynddynt nesâd at eithafion, neu ry-bellder, pa un bynag ai mewn canmoliad, ai annghanmoliad, darluniad, arwiriad, ai gwrthbrawf. Hefyd, ai nid gwir yw, fod cryn nifer o'n cenedl ni yn sylwi yn well ar fatter a osoder o'u blaen, unwaith ac eilwaith, yn y geiriau mwyaf noeth-eglur? ïe, ac na wna geiriau mwy moesgar a llyfn gael ond ychydig iawn o effaith arnynt? Y mae gwawd-iaith (*irony*) hefyd wedi cael ei harfer aml waith, gan yr Yspryd Glân, yn yr Ysgrythyrau. Etto, addefwn, mai nid perffaith a di-goll wyf fi, nac un dyn, yn ein cais i'w ddilyn.

# HYMNAU.

## *HYMN I.*

*Cyffes a phroffes yr afradlon.*

MYFI, myfi yw'r un
Afradlon, hyll ei lun,
  Fu'n gwrthod hedd,
Da haeledd Duw ei hun:
Myfi fu'n dewis pleser brau,
O flaen y gwleddoedd sy'n parhâu;
Er hyn daeth i'm newyddion,
I drechu'r galon gau.

Am noddfa clywais lef,
O uchder llŷs y nef,
  Yn floedd ar led,
"Mae nodded gan Dduw nef:"
"Ei wiwlawn, raslawn Fab a ro'es,
"I oddef angau ar y groes:
"Maddeuant sydd i'r duaf,
"Trwy ddyfnaf, lawnaf loes."

Wel, minnau, yn fy ngwaed,
A gwympaf wrth ei draed,
  Yn wael fy llun,
A gwaethaf un a gaed:
Ei lef yw "Deuwch," ac nid "Dôs,"
Nid "Ewch i'r ddofn uffernol ffôs:"
Mi lefaf am ei gymmod,
A'i nabod, cyn y nos.

Mae gwerth ei aberth EF
Y'n drymach yn y nef,
Na'm beiau i gyd,
Er maint eu llid a'u llef.
Mawr iawn yw drwg fy mhechod cas;
Er hyn mae rhinwedd afon gras,
Yn dwyn maddeuant cyhoedd,
I luoedd daear lâs.

At Iesu'r wyf am ffoi;
Efe, yn rhad, sy'n rhoi
Hedd fel y môr,
Cyn cau y ddôr, a'i gloi:
Ei waed mae'n uchel iawn ei lef,
Ei fraich, mae'n ddwyfol, grasol, gref;
I etifeddion dystryw,
Achubwr ydyw EF!

---

## *HYMN II.*

*Cyffes, &c.*

MAE gweision gan fy Nhad,
Yn cael digonedd rhad,
A minnau'n syn,
Gan newyn, yn ddi-wâd:
Cyfodi wnaf; âf ato EF;
Ac arno mi gyfoda'm llef;
Pwy ŵyr na chaf achubaeth,
O'i iachawdwriaeth gref?

Yn ngwlad y cibau cas,
Ce's glywed llef, o ras,
"Bechadur, ffo,
"At Grist; bydd iddo'n was:

"Mae ganddo wledd i'w weision gwael;
"Mae ganddo wisg a thrysor hael;
"I farw paid â gorwedd;
"Ymgeledd sydd i'w gael."

Trwy'r Oen fu ar y bryn,
(Fe genir byth am hyn)
Mae gwisg i'r noeth,
I'r euog, annoeth, syn:
Yn lle gwg Duw, a'i farnol wŷs,
Ce's wisg a modrwy am fy mŷs,
A'r pasgedion puraf,
O fewn ei lawnaf lŷs.

## *HYMN III.*

*Cyffes, &c.*

MYFI yw'r un a fu,
Ar drangc gan newyn du,
Yn mysg y ffol,
A'r traws elynol lu:
Myfi fu'n porthi moch yn hir,
Yn chwenych rhan o'u cibau'n wir,
Ac (eiddo'm Tad dan wàrio)
Yn tàrio yn eu tir.

Ond yn yr ardal gas,
Daeth rhad newyddion gras,
Am wledd Iôr hael,
Nes blysiais gael ei blas:
Prysuraf bellach gydâ'r llu,
Sy'n ceisio gwleddoedd Iesu cu;
Prysuro wnaf, tan erfyn,
O dir y newyn du.

Wel bellach tu a gwlad,
A thu fy nefol Dad,
  Yr wyf am droi;
Nid yw E'n rhoi naccâd:
Yn wir cyffesaf wrtho EF,
Mi bechais, do, yn erbyn nef;
Ond maddeu, er na haeddais;
Hyn yw fy llais a'm llef.

---

## *HYMN IV.*

*Cyffes, &c.*

MAE'n newydd da i mi,
Fod gwaed âg uchel gri,
  Yn gryf ei hawl,
Yn llawn ei freiniawl fri:
Trwy'r gwaed, yn rhad, maè'r ffordd yn rhydd,
At orsedd gras; O, deffro, ffydd,
A dadleu hwn yn gyson;
Y nef yn foddlon fydd.

O, rhyfedd! rhyfedd ras!
I'r du afradlon, cas!
  I'r hyll ei hwyl,
Heb haeddu gorchwyl gwas!
Dosturiol Dad, mae'n gwenu hedd;
Maddeuol gariad yn ei wedd;
Mae'n rhoi i'r annheilyngaf
Felusaf lonnaf wledd.

I mi oedd farw'n wir,
Yn mhellder anial dir,
  Rhoes laeth a mêl,
Er fy ngwrthryfel hir:

Mae'n gwisgo'r euog, llyma' gaed,
Mae'n rhoi esgidiau am ei draed,
Llawn wledd, a'r gwisgoedd gorau,
O wiw rinweddau ei waed.

## HYMN V.

*Cyffes, &c.*

A Af fi etto'n ol,
I ddilyn chwantau ffol?
Rhagflaena, Naf;
O! gwasgaf i dy gôl:
Y'mlaen, y'mlaen, at wleddoedd nef,
Gwir faeth ei iachawdwriaeth EF,
Fu'n gwaedu ar Galfaria,
Yn drist ei lyma' lef.

Trwy'r Oen a'i farwol gri,
Mae gwir iachâd i mi,
A thrwy ei loes,
Ar groes, ar Galfari:
Ar hon, "*Gorphenwyd,*" oedd ei lef;
Ar hon llonyddwyd dig y nef;
Ar hon, yn ing marwolaeth,
Ca'dd oruchafiaeth gref.

Rhyfeddu byth a fydd,
Hyd faith drag'wyddol ddydd,
Y gras, a'r maeth,
Sy'n rhoi y caeth yn rhydd:
Fe brynai'r caethion gwaela'u gwedd;
Traws euog lu, i'w dwyn i hedd;
Mae'n galw'r afradlonaf,
I'w buraf, lawnaf wledd.

## HYMN VI.

*Mawredd y Prynwr a'i Aberth.*

MAE mawrion ryfeddodau,
Yn nghyfoeth Iôr a'i waith,
Yn crëu, ac yn cynnal,
Y greadigaeth faith:
Ond etto mwy yw'r syndod
Mwy clod a gaiff am hyn;
Mab Duw yw'r un fy farw,
Ar ben Calfaria fryn!

*Ei hun* a ro'dd yn aberth,
*Ei hun* a ro'dd yn iawn;
*Ei hun*, trwy ddyoddefaint,
Oedd berffaith bur a llawn:
Beth mwy a all'sai roddi?
Beth mwy ofynai'r Nef?
Yn helw Duw, a'i Hanfod,
Nid oedd dim mwy nag EF.

Dim mwy ni feddai Duwdod,
Nâ "Mab ei gariad" mawr;
Dim mwy ni feddai Iesu,
Na'r einioes 'ro'dd i lawr
I'r iselderau dyfnaf,
Er mwyn ei eiddo daeth;
Rho'dd werthfawr ddwyfol daliad,
I'w dwyn o'u cyflwr caeth.

## BEIAU YR ARGRAFF-WAITH.

| *Tu dalen.* | *Llinell.* | *Geiriau beius.* | *Y modd y dylent fod* |
|---|---|---|---|
| 27 | 10, 17 | annhaethol | anmhaethol |
| 33 | 21 | tu ag ei gael | tu ag at ei gael |
| 51 | 26, 27 | brynedaeth | brynedigaeth |
| 85 | 10 | cyfammodi | chyfammodi |
| 114 | 9 | cael eu | cael ei |
| 124 | isaf | miloedd o filiynau | miliynau |
| 146 | 19 | awdyr | awdwyr |
| 161 | 25 | Gor uchaf | Goruchaf |
| 176 | 25 | a radd | o radd |

Mewn ychydig *Gopïau* y diangodd y beiau yn *tu dal.* 161, a 176. Fe allai y ceir hefyd ddau neu dri o'r *ffugyrau* yn feius, mewn cyfeiriad at Bennodau neu Wersi o'r Bibl. Os ceir ambell fai llythyrenol &c. yn ychwaneg, dymunir hynawsedd y darllenydd, i'w diwygio.

DIWEDD.

DINBYCH, ARGRAFFWYD GAN THOMAS GEE.

